# Llwybr hyfforddh yn cyfarwyddo yr anghyfarwydd i'r nefoedd.

Yn yr hwn y dichon dyn ystyriol *weled ei gyflwr presennol, pa vn* ydyw a'i cadwedig, a'i colledig.

Wedi ei osod allan ar dull ymddiddan-*nion, yn gyntaf yn Saesonaec, o waith* Arthur Dent, *Gwenidog Gair Duw.*

Ac yr awr-hon wedi ei gyfieithu yn Gamberaec er cymmorth i'r Cymro annysceedig, fel y gallo efe gael yn ei dafod-iaith ei hûn, foddion a chyfryngau i chwanegu ei wybodaeth i wasanaethu duw.

Esay. 1. 16.

Ymolchwch: ymlanhewch, bwriwch ymmaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid: Peidiwch a gwneuthur drwg, Dyscwch wneuthur daioni, &c.

---

Yr ail argraphiad.

---

Printiedig yn *Lundain* gan *Bennet Griffin*
yn y Flwyddyn, 1682.

I'r Gwir Barchedig Dàd yn Nuw, IOHN drwy râd Duw Arglwydd Escob Llan Elwy, R. Ll. sy'n damuno pob llwyddiant, a diddanwch Ysprydol ar y ddaiar, a gogoniant tragwyddol yn y Nefoedd.

*GWir Barchedig Dàd, ynghylch tair blynedd, neu chwaneg a gerddodd heibio eusys, er pan ddaeth attaf oddiwrth fy mharchedig Arglwydd Escob* * *o goffadwriaeth urddedig, lyfr Saesonec (o waith y poenus wenidog Gair Duw* A. D.) *iw gyfieithu yn Gymraec, er mwyn cael o'r gwerin-Gymru cartrefol (yn enwedig oi Escobaeth ei hûn) drwy ymarfer a darllain y llyfr hwn, fodd cymmwys i chwanegu eu gwybodaeth yn y wir ffydd, ac iw cymmell i fyned rhagddynt yn gyfarwydd, ac yn hyfedr ar hyd iawnffordd iechydwriaeth.*

* Escob Hanmer.

*Y cyfieithiad hwn wedi ei gymhennu yn barod, a arhosodd rhag-llaw gyd a'm fi, megis plentyn tan ei ymddwyn yn y grôth, yn disgwyl yr amser pennodol, a'r tymp prydlawn ei gael ei escor i'r byd, sef yr achlysur cymmwys iw osod allan mewn print.*

*Ar hynt, rhag myned fy llafur-waith yn ofer, ac ar ddymuniad rhai o'm cydnabod a oedd yn ofni Duw, ac yn sychedu am gael diodi eu heneidiau a dwfr y* * *ffynnon a glyw-*

* Pyd-

*sent ei bod wedi ei chloddio ar eu medr, mi a'i dygum ef allan i'r byd yn gyfryw etifeddyn gwael, truan, ac y mae yn dangos arno: eithr yn druanach o lawer ei gyflwr, am golli o honaw yn ddiweddar, y nodded, yr ymddeffyn, a'r ymgeledd a fwriadasswn i ddarparu iddo: Canys tra fûm i yn bryssur yn dibennu fyngwaith, yr Arglwydd Nefol a alwodd atto ei hûn y Prelad Parchedig a'm gosodasai ar waith.*

*Ar hyn mi amcenais wneuthur ir etifeddyn hwn y cyffelyb peth, ac a wnaethai ei rieni gynt i* Moses; *sef ei hebrwng ef allan yn ddistaw ar antur, tan beryglon y byd yn ddi-ymgeledd, fel* Moses *i'r afon, gan ddisgwyl pa*
Exod. 3. 3. *helynt a ddigwyddei iddo, a gobeithio y danfonei Dduw ryw wladwr boneddigeidd-lan, megis merch* Pharaoh, *a gyfodei y truan i fynu, ac a'i hymgeleddai. Ond pan glywais fod Duw wedi ei'ch galw, a'ch pennu chwi i fod yn Ben-bugail i areilio yr eneidiau a adawsid yn ddiweddar yn ymddifaid o'u Tad Yspryd-dol, ac i hawai yn bennaf, y darparasid y llyfran hwn, Mysi a anturiais yn hyfach ddymuno, ac erfyn ar eich Arglwyddiaeth chwi, roddi cennad iddo, a'i gynnwys i gael achles tan orchudd eich ymddiffyn, a gwascod diogel tan harwydydd eich ymgeledd.*



*Anfedrus, ac anfoesawl oedd i mi (yr wyf yn cyfaddef) ryfygu bod cyn hyfed a chynnig croesawy eich Arglwyddiaeth i'ch Uchelswydd Gyssegredig ag anrheg cyn waeled, eithr y hydig bethau gwael a distadl sy faich*

*trwm*

*trwm i dlodi, ac er eu lleied, yn arwydd o ewyllysgarwch y rhodder i ymadael yn rhwydd a chalennig a fai gwell, pe b'ai meddwr arni. Mwy oeddd y ddwy hatling i'r wraig weddw dlawd o herwydd ei phrinder hi, a mwy yngolwg Duw, o herwydd ei chalondid, a'i syberwydd, na rhoddion mawrion diandlawd y galluog o'u gweddill, a'u gormodedd.* Mar. 12 4

*Tu ag at adeiladaeth y Tabernacl er bod cyfoethogion yn gallu dwyn rhoddion gwerthfawr sef aur, arian, perlau, porphor, ysc arlat, a sidan: etto yr oedd crwyn hyrddod, a chrwyn daiar-foch a blew geifr yn gymmeradwy hefyd, ac yn cadw eu lle yn y gwaith: Pan ddêl eich Arglwyddiaeth chwithau i'r* Babell *a osododd ordinhâd Duw i chwi, a chael adnabyddiaeth a'r eich Periglorion eich hûn, chwi a gewch weled yno lawer o'ch Tan-fugeiliaid yn trîn, ac yn areilio eu praidd yn ofalus, yn dacclus yn drwyadl. Rhai bywiog, a chalonnog fel y Bugail* Dafydd *gynt, ni rusant fyned yngbyd a'r llew, ac ar arth ynghweryl yr wyn truain, iw hachub, ac iw cadw rhag sclyfaeth bwystfilod: Rhai yn casclu cerrig llyfnion gweithgar o afon* Gair Duw, *iw hergydio at y* Goliah *ysprydol yr hwn sydd yn cablu, ac yn gwradwyddo* Israel. *Rhai yn gyrru yn hybur, yn ddirûs, ac yn wrolwych yn eu galwedigaeth megis gyrriad* Jehu *Fâb* Nimsi, *yn llawn zêl, a duwiol-fryd yn erbyn offeiriaid, ac addol-wyr* Baal: *Ac eraill yn rhagorol eu dysc, a'u dawn yn dwyn i adei-*

Exod 25.

1 Sam. 17. 36.

2 Bre. 9. 20

*adeiladaeth Eglwys Grist roddion gorchestol o bur-athrawiaeth, ffraethineb, ymadrodd, a hyfdar i guro i lawr bechod a drygioni.*

*Etto er hyn ei gyd, y mae yn hyderus gennif na bydd anghymmeradwy gan eich Arglwyddiaeth chwi weled eraill, eiddilach eu grym a gwannach eu nerth, yn dwyn pwys y dydd*
Mat. 20. 12.
*a'r gwrês yn ôl eu gallu, drwy wneuthur cydwybod o drîn yn ofalus, ac yn ffyddlon y talentau bychain, a distadl yr ymddiriedwyd iddynt am danynt. Ar cyfryw yw fyngwaith gwael i ar y cyfieithiad ymma. Yr hwn er ei fod yn arw, yn drwscwl, ac yn anrhefnus o herwydd fy anghyfarwyddyd i yn ei drîn yn anghelfyddus; etto yr athrawiaeth a gynhwysir ynddo sydd ddefnyddiol, a buddiol, a'r cyfryw ac â wna ddaioni, a mawr-llês (drwy râd Duw) i'r eneidiau difedr truain y darparwyd ef iddynt. Hwn y fâth ac ydyw, gyd â'm fy hûn, a'm gwasanaeth goreu, yr ydwyf yn rhwydd-galon, ac a phôb gostyngeiddrwydd yn eu gosod ar lawr wrth draed eich Arglwyddiaeth chwi. Arglwydd yr Arglwyddi, a gynnyscaeddo eich Arglwyddiaeth chwi a lluosogrwydd o bôb doniau cymwys ac anghenrheidiol i drîn yr Alwedigaeth gyssegredig i'ch galwodd Duw iddi, Hyn a weddiaf beunydd, gan barhau yn*

*Eiddo eich Arglwyddiaeth*

*i'm gorchymmyn tra bwyf.*

*Robert Lloyd.*

## At y darllennudd o Gymro vniaith; Annerch.

Y *Darllennud hygar, Er dy swyn di yn vnig y cyrchais o eithaf Lloegr Sais-fam-dad, i ddyscu i ti yn dy iaith dy hûn, gan na wyddost ond honno, yr vniawn-lwybr hyfforddd i'r nefoedd.*

*Ac yr awr hon wedi'r holl boen a gymmerais, ar fedr gwneuthur i ti lesâd, a dwyn diddanwch i'th enaid; Nid hwyrach y byddi mor anniolchgar i Dduw am ei ddaioni ac mor ddifrâw, a difedr am danat dy hûn, ac na chymmeri hamdden i ddarllein y llyfran hwn: ac yna yr aeth fy holl ofal, am llafur i yn hyn o beth, o'th ran di, yn ofer: A pheth sy waeth i ti, y llyfr hwn a saif ddydd y farn, yn dystiolaeth i'th erbyn, ac a brawf gynnig i ti athràwiaeth iachus, ac hyfforddrwydd i achub dy enaid, ond nas mynnit; fod helynt y byd, coegni, ac oferedd yn dallu dy galon, yn pendafadu dy synwyr, ac yn sïo byrdwn yn dy glustiau, fel nad wyt yn meddwl am dy ddiwedd, nac yn ymorol pa beth a ddigwydd i'th enaid, Gofala mewn pryd am danat dy hûn, a chofia y ddihareb:*

Fe lâs a gafas rybudd, ac ni lâs a'i cymmerodd.

*Ac er nad oes gennit flas ar ddarllain llyfrau duwiol o herwydd cydwybod, etto ar fy namuiniad i darllain yma nid dwy ddalen, neu*

*eddair yn vnig, ond y cwbl trwyddo vnwaith, i ddifyrru yr amser, oni wnei ddefnydd gwell o honaw. Ti a gei gyfarfod a rhai ymddiddanion mwynion; yn enwedig lle y mae'r Ceccryn (dy wir gydymmaith di yscatfydd) yn taro i mewn ei drawsddadleuon trwscwl, ac anghymmen, i ddadleu ynghweryl anwybodaeth, a drwg arferon y byd. Nid hwyrach ond antur y digwydda i ti wrth drin y pethau hyn yn graff, fel y digwyddodd i* Zaccheus *wrth edrych ar Grist o frîg y pren, pa wr ei sut ydoedd; Edrych dithau pa fâth Gristianogol athrawiaeth sydd yn y llyfr hwn, a chyn ymadael ag ef, fe a'th ddelir yscatfydd ar y gwttta yn ddiarwybod it dy hûn, fel y daliwyd* Zaccheus, *ac y troi i fod yn ddyn ffyddlon i groesawu Crist i'th galon (er nad oedd hynny yn dy fryd ar y cyntaf) fel y croesawodd* Zaccheus *ef iw dy.*

*Neu, onid yw y bwyd hwn yn dygymmod a'th gylla di, etto na fydd fel y ci yn y presch, sef heb gymmeryd daioni it dy hûn, na bod yn fodlon i eraill i gael y peth yr wyt ti yn diflasu arno; Oni wnei ddaioni i dylwyth dy dŷ, na wna gam a hwynt am ymborth eu heneidiau, ac os gwnei, ti a gei atteb am dano, lle ni bydd vn llyfr i'th ddyscu, ond llyfr dy gydwybod i'th gyhuddo, a'r llyfr hwn hefyd yn dyst i'th erbyn, fel y dywedais or blaen: Canys er porthi o honot gyrph dy blant, a'th deulu, a gadel ar hynny heb ymorol a'm eu heneidiau, beth yr wyt ti yn ei wneuthur iddynt chwaneg*

*neg, nac a wnei i'th farch, i'th ych, ie i'th gî? Darllein hwn gan hynny, i'th wraig ac i'th blant.*

*Ac oni wnei hynny o gydwybod, etto gwna o gymmwynas i ddifyrru iddynt. Os rhyw* Abigail *a drefnodd yr Arglwydd i ti i fod yn winwydden ar ystlysau dy dŷ, wrth droi ei throell, neu drin ei hwswiaeth yn ddistaw, hi a gippia yn grâff y geiriau da a glywo, ac a'u rhydd ynghatfydd i'w cadw yn ei chalon, fel y fendigedig* Fair, *a'm eiriau ei mâb.*

*Ped anfonaswn it lyfr i ddyscu bod yn ariannog, yn gyfoethog o dda, neu i brynasu tiroedd; ie neu ryw chwareuon ofer, a choegni, fe gawsai y fâth hwnnw anfad groesaw yn aml ar hyd y wlâd: Eithr dymma it beth sydd well ar dy lês. Dysc wrth hwn o fewn ychydig at ei ddechreuad, weled dy gyflwr presennol, a chyrhaeddyd y wir adenedigaeth, i fod yn blentyn i Dduw; ac yna y cei dryssor safadwy, parhaus yn y nefoedd: ti a fyddi cyfoethog yng-Hrist o bob rhadau ysprydol: a'r nefoedd hefyd eiddot ti fydd.*

*Ai arswydo yr wyt ti ymroi i wasanaethu Duw rhag gwatwor cymmydogion? Os ceisio rhyngu bodd dynion yr wyt, ni byddi byth wâs ffyddlon i Grist:* Gal. 1. *Os bydd cywilydd gennit Grist, a'i air, ai wasanaeth yma ar y ddaiar, ti a wyddost beth sydd yn canlyn yn yr Efengyl, e fydd cywilydd gan fâb y dyn ditheu,* &c.

*Os bydd mwy gofal arnat rhag anfodloni*

*rhyw*

*rhyw geccryn anghrefyddol, heb ddim ofn Duw yn ei galon, neu ryw Gain genfigenus, neu* Ismael *watworus, neu* Esau *afreolus, neu Suddas gybyddus, na bodloni Duw, ac achub dy enaid, fe aeth hynny yn galed. Ti a glywaist mai rhaid yw ymdrechu, ac ymwthio am fyned ir nef, ac mewn vn peth, drwy anglod a chlôd: ac os ymroi ditheu i wasanaethu Duw, ti a gei glôd ganddo ef, a chlod gan rai da: ond y mae yn rhaid i ti ymroi i ddwyn yn orau ac y gellych anglod, anair, gwawd, a gwatwor gan rai drwg, Canys ni elli ddiangc rhagddo; ni châr y byd ond yr eiddo ei hûn.*

*Ai anhawdd genit dreulio amser yn y gorchwyl hwn, nid rhaid i ti golli dim amser a waethygo arnat, neu a rwystro dy orchwylion bydol yn eu pryd: y mae'r nos yn hir y gaiaf, a'r Suliau, ar gwiliau yn hir yr hâf; gad ymmaith y twmpath chwareu, a'r bowliau, ar tafarnau, a'r bel-droed, a'r denis, a'th negesau; gwna y pethau hyn yn weddol ar dy ddiwrnodau dy hûn, o bydd achos: eithr gwasanaetha Dduw ar ei ddydd ei hûn; ac onidê, efe a ddigia wrthit, ac i ba le y ffoi di rhagddo?*

*Ai blin gennit ymadael ag ychydig arian i brynu llyfran bychan, ni chyst ond ychydig? Mi â wnn yn yspys dy fod yn rhwydd galon yn talu yn ddrûd am dy beiriannau ysmonaeth, a dodrefn dy dy i lafurio am bethau y bywyd yma; ac a rusi di er ychydig, ddarparu am fywyd sydd well? y mae gennit gleddyf ar dy glûn i fyned i ffair, a marchnad, rhag dy friwo*

*dy hûn, ac i friwo dy elyn; mae'r cleddyf ysprydol i gadw dy enaid, yr hwn sydd a mwy taro arno i ba le bynnag yr elych, nac ar dy gorph? Ymae yn hawdd gennit roi arian i'r cerddor ar y suliau, ar gwyliau i ladd eneidiau dy blant; ac oni roddi di ddim iw hachub? fe fedr y Treccyn hwnnw dynnu oddiwrthit wobr, a chyflog am ddianrhydeddu Duw, a gwasanaethu diafol ar y dydd Sabboth; a'm fod yn debyg i* Jeroboam *yr hwn a bechodd, ac a wnaeth i* Israel *bechu: neu'r Brenin* Darias *yr hwn a cherddoriaeth a hudei y bobl i gaudduwiaeth; gâd i minnau gael gennit y gêdhon o haelioni: sef prynu ychydig lyfrau bychain o'th iaith a'th ddeall dy hûn, i gyssuro dy enaid, pan na allo yr holl fyd ddim llesâd i ti.*

*Ai ni fedri di ddarllain Cymraec, na neb o'th dy chwaith? O, beth â ddywedaf wrthit, ond Duw a'th helpio druan; pa fodd y gwasanaethi di Dduw, gan na fedri ddarllain ei air ef. Dysc yn gyntaf y gellych, neu bâr i ryw vn o'th dy ddyscu darllain, a dysced y lleill gan hwnnw: Mi a gynmeraf arnaf osod y dyn ieuangc a fynnych (yn enwedig o bydd efe hyddysc) ar ffordd gymmwys i ddyfod i ddarllain o honaw ei hûn yn adrybelydr, yn ôl cymmeryd o honof ychydig boen gyd ag ef tros vn wythnos. A pheth yw hynny wrth y llesâd a ddichon dyfu oddiwrtho?*

*Rhag dy syfrdanu yn rhyhir: Am athrawiaeth y llyfr hwn, dal arno, ac ystyria o ho-*

*nawe*

*naw fel y darllenych: O bydd rhyw le yn dywyll i ti, darllen hwnnw yn fynych trosto, ti a ddeui iw ddeall o'r diwedd. Eithr gwybydd hyn, fod y pethau gorau ynddo yn y canol, ac tu ag at y diwedd.*

*Am ddull yr ymadrodd, mi a wneuthum fyngoreu ar ei osod ar lawr yn wastad, yn ddigeingciog, ac yn rhwydd iw ddeall, lle y methodd gennif gwplau hynny, maddeu i mi fyngwendid, a chymmer fy ewyllysgarwch yn lle gwaith a fai gwell: ond hyn, geiriau an-arferedig a ochelais yn oreu ac y medrais, gan ymfodloni ar cyfryw eiriau sathredig, ac y mae cyffredin y wlâd yn gydnabyddus a hwynt, ac yn hyspys ynddynt.*

*Am y print, nid ydyw ddifai er a ellais: Eithr yn rhyw fan y mae llythyren yn ddiffyg, mewn man arall yn ormod, a rhyw air yscatfydd allan o'i drefn: rhai o'r beiau hyn a ddiangasant gan y Printiwr, yr hwn oedd anghydnabyddus a'r iaith: a rhai gennif fy hun er craffed yr oeddwn ar fedr bod; diwygia di yn ddiddig, attolwg, a'th bin yr hyn â Welych yn feius. Y synhwyreg, a dalltwriaeth yr hesiwm a ddengys i ti yn hawdd beth a ddylei fod. Mi â amcanaswn chwanegu at ddiwedd y llyfr yma fagad o weddiau iw harfer ar amryw fâth ar achlyssur, ac achosion; eithr y mae yr* Ymarfer o Dduwioldeb *ynteu tan y Print-wasc, ac yn brysio i ddyfod i wlâd Gymru cyn y gaiaf; Oddi-yno y gelli di gael beth bynnag a ddymunech. Dyna wr boneddig yn treulio ei amser*

*ser yn weddol, ac yn ganmoladwy, gan wneuthur gwasanaeth i Dduw, daioni iw wlâd, a llesâd mawr iddo ei hûn drwy gyfieithu y llyfr godidog hwnnw. Pe cymmerai foneddigion ieuaingc ein gwlâd ni ryw gyffelyb orchwylwaith duwiol, a buddiol, i dreulio eu hamser arno, ni byddei anllywodraeth, a rhysedd yn cael cymmaint rhwysc: Na gwir Grefydd uniawn-grêd yn cael cyn lleied brî, a chymmeriad; ac ni byddei oereth yn yssu, ac yn bwytta y naill ddarn o'u tiroedd, na thafarndai, a mwg Tobacco yn yfed y darn arall.*

*Bellach y darllëydd hawddgar bydd iâch: a chofia hyn, Pa lesâd bynnag a gasclech oddi ymma, dyro y Gogoniant i Dduw, ac yna y tyccia iti yn well y peth a ddarllenych. A Duw a'th fendithio a phob rhâd angenrheidiol; i'r hwn i'th orchymynnaf.*

*O'm stafell yn Ffoster-lân yn* Llundain *yr Ugeinfed dydd o fis* Medi. 1629.

*Yr eiddot yn yr Arglwydd,*

R. Ll.

Ystyria eth,

*Yſtyriaeth, a chynnwyſiad yr ymddiddanion hyn â ddengys i ni.*

1. Drueni dyn tan naturiaeth, a'r ymadferth i ddiangc rhagddo.
2. Anwiredd yr amſer ymma, a chyffredin lygredigaeth y byd.
3. Nodau plant Duw, a nodau y rhai gwrthodedig: ac arwyddion hyſpys o iachawdwriaeth, a damnedigaeth.
4. Mor anhawdd yw myned i fywyd: a lleied yw niſer y rhai â ânt yno.
5. Anwybodaeth y byd, a'i wrth-attebion yntef.
6. Hyfr[illegible] addewidion yr Efengyl, ac aml drugareddau Duw ir ſawl oll â ediſarhânt, ac â gredant, ac á wir ddychwelant atto ef.

Llwybr

# Llwybr dyn anghyfarwydd
## *I'r nefoedd.*

Yr ymddiddanwyr.
- *Theologus*: Pregeth-wr.
- *Philagathus* § Gwr-da. § Gwr-onest
- *Asunetus*: Aughyfarwydd-ddyn
- *Antilegon*: § Ceccryn. § Cynnenwr.

*Philagathus.*

DYdd da i chwi Mr *Theologus.*

*Theol.* Ac i chwithau fy hên gydymmaith *Philagathus.*

*Phila.* Da iawn gennif eich gweled chwi yn iach-lawen. a'ch cyfarfod yn y fath gyfle, i dderbyn o'ch genau addysc, a chynghorion ysprydol, fel y byddwn gynnefin gynt; oddieithr bod rhyw achosion a fai mwy yn rhwystro i chwi gael ennyd.

*Theol.* Ac y mae yn dda gennif finnau eich gweled chwi yn parhau yn yr vn meddwl duwiol, ac yn yr vnrhyw awydd i geisio chwanegu eich cyfarwyddyd yn ffordd iechydwriaeth: Ac o'm rhan i nid wyf amharottach yr awr'hon nac i'm gwelsoch gynt, i gyfrannu i chwi, ac i bawb eraill o'r mesur gwybodaeth a ganniadhaodd duw i mi, ond mi a welaf ddeu'wr o'r plwyf nessaf yn cyfeirio tu ag attom: y naill a elwir *Asunetus*, gwr anghyfarwydd yn y pethau a berthyn

i wybodaeth o dduw: Ar llall a elwir *Antilegon*, Ceccryn ymddadleugar yn erbyn pob daioni. Os gwelwch chwi yn dda, a hwythau hefyd, hwynt hwy a gant wrando ar yr ymddiddanion a dyfo rhyngom i edrych a weithia hynny ynddynt hwy hefyd beth llefâ'l.

*Phila.* Da y dywedwch, ac am hynny awn iw cyfarfod hwynt.

*Theol.* Dydd da i'wch fynghymydogion: pa fyd *Asunetus*, a chwithau *Antilegon?*

Asun. *Byd da, i dduw byddo'r diolch: Ac y mae yn llawen gennym weled eich meistrolaeth chwithau yn iach.*

*Theol.* Dymma wr onest o'm hên gydnabyddiaeth i, yn ewyllysio ymchwedleua am fatterion ysprydol, a chwithau, ond odid yn bryssur ynghylch rhyw achosion bydol: eithr pe caech ennyd a hamdden, e fyddei dda gennym, a da ysgatfydd i chwithau, gyd-ymddiddan ai gilydd tros awr, neu ddwy. Canys angenrheidiol i bawb (o flaen dim) ymorol am y pethau a berthyn i'w iechydwriaeth tragwyddol.

Asun. *Gwir yw hynny, ac nid yw gymmaint ein brys ac na allwn hepcor ychydig amser, i wrando ar y pethau yr ydych chwi yn son am danynt; gan fod y gwybodaeth o honynt mor angenrheidiol.*

*Theol.* Am hynny, fy annwyl gydymmaith *Philagathus*, gwnewch fel yr oeddych

yn

yn ewyllyſio: Gofynnwch chwi ynghylch Criſtianogol grefydd y cweſtiwnau a ryngo bodd i chwi. Eithr rhag bod y gwyr ymma yn anghydnabyddus a gwyddorion y ffydd, ni wna niwed, i'm tŷb i, ddechreu o honoch ar yr rheini, fel y byddo rhwyddach y ffordd ym mlaen at ymofynnion a fo dyfnach yn ol hynny.

*Phila.* Myfi a wnaf eich cyngor: ac am hynny chwenychwn wybod ym mhâ gyflwr y genir pawb wrth drefn naturiaeth.

*Theol.* Geni pawb yr ydys wrth naturiaeth mewn cyflwr greſynol, a thoſturus, ſef mewn ſtât damnedigaeth, fel y mae yn amlwg: *Yr oeddem wrth naturiaeth yn blant digofaint fel eraill.* Drachefn ſcrifennedig yw. *Wele mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf* Eph. 2. 3. Pſal. 51. 5.

*Phila.* Ai dymma gyflwr pob dyn? Onid yw y Duciaid ar gwyr ardderchog: yr Arglwyddi a'r Arglwyddeſau, y rhai mawrion, a galluog ar y ddaiar wedi eu neillduo allan or cyflwr ymma!

*Theol.* Nac ydynt yn wir; Cyflwr yw hwn cyffredin i bawb, i'r vchel'radd megis i'r iſſel: i'r rlawd fel i'r cyfoethog, megis y mae yn ſcrifennedig: *Pa beth yw dyn i fod yn bur, a'r hwn a aned o wraig i fod yn gyfiawn?* Job 15. 14.

*Phila.* O ba achos y digwyddodd geni pob dyn mewn cyflwr mor ofidus?

*Theol.* O achos cwymp *Adda*, drwy'r hwn y maglwyd ef ei hun a'i holl heppil mewn

trueni

trueni dirfawr,ac anrhaethadwy; fel y dywed yr Apostol: *Drwy gamwedd vn dyn y*
Ruf. 5. *daeth y bai ar bawb i gondemniad: Ac drwy*
18, 19. *anvfydd dod vn dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid.*

*Phila.* Pa reswn sydd i'n cospi ni oll am fai vn arall?

*Theol.* Oherwydd ein bod ni oll y pryd hynny ynddo ef, acyn awr o honaw ef: sef nyni a ddaethom felly allan o'i lwynau ef, fel y digwyddodd i ni nid yn vnig gael ganddo ein cyrph anianol,a llygredig hyn,eithr hefyd drwy heppiliaeth etifeddu ei lygredigaeth ef, megis cyfiawnder treftadol yn dyfod oddiwrtho.

*Phila.* Eithr oblegid bod rhai yn tybied na ddrygodd Adda wrth ei gwymp, neb arall ond ef ei hûn yn vnig,ac nid ei heppil hefyd gyd ag ef; a bod ei lygredigaeth ef yn descyn i ni drwy ymgyffelybiad ac nid drwy heppiliad, myfi a ewyllysiwn i chwi hyspysu y pwngc hwn yn eglurach.

*Theol.* Megis y bydd Pennaethiaid drwy wneuthur teyrn-fradwriaeth, yn drygu nid eu hunain yn vnig, ond eraill hefyd, trwy halogi eu gwaedoliaeth,a distadlu eu hiliogaeth hyd oni adgyweirier, ac y glanhaer iddynt drachefn eu gwaedoliaeth a'u braint trwy Act o Barliament: Felly oblegid megis llygru ein gwaedoliaeth ninnau drwy drofeddiad *Adda*, ni allwn ni etifeddu ddim hawl gyfiawn hyd oni adferer

ſerer i ni drachefn ein braint, a'n gwaedoliaeth.

*Phila.* A ydyw y gwenwyn treftadol hwn, a'r llygredigaeth yn ymdanu ar waſcar tros ein holl naturiaeth ni?

*Theol.* Ydyw yn ddiau, yn cyrhaeddyd yn hollawl, ac yn ymwahanu ar lêd trwy'r holl ddyn ſef enaid, a chorph, y rheſwm, y deall, yr ewyllys a'r nwydau. Canys y mae 'r Scrythyrau yn cadarnhau ein bod ni yn feirw mewn pechodau, a throſeddau.

*Phila.* Pa fodd yr ydych chwi yn deall hynny? ſef ein bod ni yn feirw?

*Theol.* Nid am farweidd-dra y corph nac am farweidd-dra naturiol ſwydd-gynneddfau yr enaid, ond am farweidd-dra y nerthoedd yſprydol.

*Phila.* A gollodd Adda ei naturiaeth drwy ei waith yn cwympio mewn pechod ar y cyntaf? Neu â ydyw ein naturiaeth ni wedi ei ddiddymmu, ai ddileu ymmaith drwy ei gwymp ef?

*Theol.* Nac ydyw: ein naturiaeth ni a lygrwyd yn vnig drwy gwymp Adda, eithr ni ddiniſtriwyd ef. Canys ymae yn aros yn ein naturiaeth ni, reſwm, dalltwriaeth, ewyllys, a nwydau: ac nid ydym wedi myned yn gyffelyb i brennau, neu gyffion digynnwrf: Eithr trwy anvfydd-dod Adda i'n gwaethygwyd, i'n anafwyd, ac i'n yſpeiliwyd o bob gallu, a grym i iawn ddeall neu i ewyllyſio, neu i wneuthur uniondeb.

Megis

Megis y mae yn scrifennedig: *Nid ydym ni ddigonol o honom ein hunain i feddylio dim megis o honom ein hunain, eithr ein digonedd*
2 Cor. 3. 5. *ni sydd o dduw.* Drachefn: *Duw yw'r hwn sydd yn gweithio ynoch: ewyllysio, a gweithredu*
Phil. 2. 13. *o'i ewyllys da.*

Ac am yr ail peth y mae St *Jago* yn dywedyd: *Fod dynion wedi eu gwneuthur ar*
Jago 3.9. *lun Duw:* Gan ddeall fod peth gweddillion a darnau o lun, a delw dduw yn aros etto, ie hyd yn oed, yn y dyn gwaethaf: megis rheswm, dalltwriaeth ar cyffelyb; mal y gellir weled wrth hynny, nad yw ein naturiaeth ni wedi ei lwyr-ddinistrio.

*Phila.* Wrth hynny tybied yr ydych chwi fod etto wedi eu gadel ynom ni rai gwreichion, a pheth gweddillion o ragorol lun duw, yr hwn oedd yn ein creadwriaeth ni ar y cyntaf.

*Theol.* Felly yr wyfi yn tybied; a hynny a ymddengys yn eglur allan o ddoeth ymmadroddion, a dyscedig lyfrau y Poetau gynt, ar Philosophyddion enwog ym mhlith y Cenedloedd. Wrth y rhai megis wrth fath ar hên furddunau, amharus y gellir deall mor odidawg oedd celfydd-waith, ac adeilad creadwriaeth dyn ar y cyntaf.

*Phila.* A ddichon dyn ryngu bodd i dduw mewn dim oll a wnelo, tra yr arhoso efe tan gyflwr naturiaeth?

*Theol.* Naddichon: Canys hyd oni symmuder ni i gyflwr gras, pechadurus yw ein gwei-

gweithredoedd goreu, sef ein gwaith ni yn pregethu, yn rhoddi elusenau, ar cyffelyb. Fel y mae yn scrifennedig. *Pwy a rydd beth glân o beth aflan.* A'r Apostol hefyd a ddywed. *I sawl ydynt yn y cnawd ni allant ryngu bodd duw*; y sawl ydynt yn y cnawd, hynny yw, y sawl ydynt yn aros yn eu llwgr naturiol: a'n Harglwydd Jesu ei hun sy'n dywedyd: *A gesclir grawn-win oddiar ddrain, neu ffigus oddiar yscall?* Ei feddwl ef yw hyn, sef na ddichon dynion llwyr-naturiol heb rás duw, ddwyn dim ffrwythau cymmeradwy gan dduw. Job 14.4. Rhuf. 8.8. Matth. 7.

*Phila.* Tôst iawn, a chaled yw'r chwedl hwn: Attolwg i chwi, hyspyswch hyn etto yn oleuach.

*Theol.* Dynion yn eu cyflwr naturiol, heb rás a allant wneuthur llawer o bethau, y rhai ydynt o honynt eu hunain yn dda, eithr pallu y maent hwy yn y moddion y dylid eu gwneuthur, megis y perthynei iddynt; sef nid ydynt yn eu gwneuthur mewn ffydd, mewn cariad, mewn zêl, mewn cydwybod i ddangos vfydd-dod, nac yn llawen chwaith drwy gymmeryd difyrwch yn gwneuthur daioni, ond megis o led-anfodd, a thrwy ymgymmell oddi mewn i wneuthur y gweithredoedd oddiallan. Felly yr offrymmei *Cain*, y gweddiei y *Phariseaid*, y rhoddei *Ananias* a *Saphira* elusenau, ac yr offrymei yr Juddewon eu haberthau a'u poeth-offrymmau.

*Phila.* A ydyw dynion yn gwir weled yn iawn-graff, ac yn adnabod ynddynt eu hunain y trueni, a'r cyflwr grefynol hwn, tra fyddont yn llwyr ddilyn rhwyfc naturiaeth?

*Theol.* Nac ydynt, either y maent wedi eu llwyr-ddallu a'u caledu ynddo, heb chwenychu dyfod allan o honaw, ac yn ymhoffi ynddo, ac ni fynnant goelio eu bod mor refynol eu helynt: fel y gallwn weled yn fiampl y llywodraethwr, yr hwn pan archodd Crift iddo gadw y gorchymynion, a

Luke 18. 21. attebodd: *Hyn oll a gedwais o'm hieuengtid.* Drachefn er bod *eglwys Laodicea yn druan, ac*

Apoc. 3. 17. *yn dlawd, yn ddall ac yn noeth*; *er hynny hi a'i tybiei ei hun yn gyfoethog, a chanddi amlder o dda, ac nad oedd arni eifieu dim.* Oherwydd hyn tra fyddo dynion yn eu cyflwr naturiol, nid ydynt nac yn gweled eu trueni, nac yn ymwrando ag ef.

*Phila.* A ydych chwi yn tybied fod pawb oll o'r fawl ydynt lwyr-naturiol, tan felldith y gyfraith?

*Theol.* Ydwyf yn ddiau: Ac nid hynny yn vnig, eithr eu bod hefyd tan warrogaeth a llywodraeth Satan, er nad ydynt yn gwybod nac yn gweled hynny: nac yn ymwrando a'r peth, nac yn ei ddirnad: Canys pawb oll ar nid ydynt ynghrift fydd tan felldith y gyfraith, a than feddiant y tywyllwch, ar Cythraul: fel y mae yn amlwg. *Ephe.* 2. 2. *Lle y gelwir y Cythraul y tywyfog*

*wysog yr hwn y mae iddo lywodraeth yn yr awyr ; sef yr yspryd sydd yr awr'hon yn gweithio ym mhlant yr anufudd-dod.* Ac mewn man arall y gelwir ef *Duw y byd hwn , yr hwn sydd yn dallu llygaid yr holl anffyddloniaid.* Drachefn y dywedir, *fod pawb wrth naturiaeth yn ei fagl ef, wedi eu dal ganddo, yn gaethion wrth ei ewyllys ef.*

*Phila.* Nid oes ond rhai a goelia hynny : y rhan fwyaf a ddywedant eu bod yn ymwrthod a'r Cythraul, ac a rônt ddiolch i dduw am eu bod yn ddiangol oddiwrtho, na wnaeth erioed niwed idddynt.

*Theol.* Nid yw'r geiriau dewrion hyn yn gwellau dim ar y matter. Ni ffy 'r Cythraul rhag geiriau, mwy na rhag dwfr bendigaid; eithr aros y mae efe ar dafodau, a geneuau dynion, ie cyfanneddu y mae yn heddychlon ynghalonnau, a meddyliau miloedd, y rhai a ddywedant eu bod yn ymwrthod ag ef, ac yn ddiangol oddiwrtho, fel y mae yn amlwg gweled wrth eu gweithredoedd cyffredin, a holl ystod eu buchedd.

*Phila.* Yn fy nhyb i, pe bai'r Cythraul yn meddiannu calonnau a chydwybodau dynion, hwy a ddeallent hynny, ac a wybyddent oddiwrth y peth ?

*Theol.* Dull y Cythraul yn gweithio ynghalonnau dynion (ac ynteu yn yspryd anweledig) sydd mor ystrywgar, a chyfrwysddrwg, ac nad yw bossibl i ddynion yn eu cyflwr naturiol, allu ei ddirnad ef, na

gwybod

gwybod oddiwrtho. Canys pa fodd y gwel dyn dall, neu y clyw dyn marw?

*Phila.* Hyspyswch hyn etto yn oleuach.

*Theol.* Megis y bydd hudol cyfrwys drwy siommedigaeth Satan, yn dallu ac yn twyllo synhwyrau dynion oddiallan, trwy beri iddynt goelio eu bod yn gweled y peth nis gwelant, ac yn clywed y peth nis clywant: felly y mae Diafol yn twyllo, ac megis yn rheibio y synhwyrau oddimewn, sef naturiol swydd geneddfau yr enaid, nes bod dynion fel rhai a niwlen tros eu llygaid yn tybied eu bod yn amgenach nac ydynt, sef yn gweled y peth nis gwelant, ac yn clywed y peth nis clywant. Canys cyfrwystra Satan sydd yn sefyll yn fawr ar hyn o beth, nid amgen, ar fedru rhoi i ni ein briw marwol, ac er hyn, bod yn anwybod i ni pwy a'n briwodd.

*Phila.* Nid oes nemmawr a goelia hyn yn lle gwir.

*Theol.* Nac oes; oblegid nid oes nemmawr a gredant yr scrythyrau. Nid oes nemmawr a grêd hyn, o herwydd nid oes nemmawr yn clywed hyn. Ac lle ni bydder yn clywed oddiwrth y peth, nac yn ei ddirnad, anhawdd yw ei gredu. Yr etholedigion yn unig ai clywant ynddynt eu hunain, ac ydynt yn ymwrando a'r peth, ac am hynny yr etholedigion yn unig a gredant fod y peth yn wir. Ac am eraill, caeth-weision i'r Cythraul ydynt, Cyflwr

gwaeth

gwaeth o lawer na bod yn gaeth ddiymwared i rwyfo yn llongau y Twrcaid.

*Phila.* Pa hyd yr erys dyn yn y gofidus gyflwr naturiol hwn, tan felldith y gyfraith, a chaethiwed Satan, a phechod?

*Theol.* Hyd onid ail-ganer ef, ac y dyger felly i gyflwr gras, fel y dywed ein Harglwydd Jesu: Oddiethr ail-geni dyn ni ddichon efe weled teyrnas dduw. Joh. 3.5

*Phila.* Onid oes lawer yn marw, ac yn ymadel a'r byd cyn eu hail-geni, a chyn eu dyfod i gyflwr gras?

*Theol.* Oes lawer mil-filoedd yn byw ddeugain, a thrugain mlynedd, ac yn y diwedd yn marw, ac yn mynedd allan o'r byd cyn iddynt wybod yr achos y daethant i'r byd. Felly mae yn scrifennedig: fy mhobl a gyfrgollir o eisieu gwybodaeth.

*Phila.* Beth sydd i ni iw dybied am y cyfryw rai?

*Theol.* Arswydus gennif adrodd y peth yr wyf yn ei dybied am danynt. Oblegid nid wyfi yn medru dirnad pa fodd y dichon y cyffelyb fod yn gadwedig. Nid wyf yn awr yn yngan am blant bychain, o ba rai diammeu y bydd llawer yn gadwedig drwy rym yr addewid, ar ammod drwy etholedigaeth grâs.

*Phila.* Cyffelybus yw wrth hyn eich bod chwi yn tybied na ddichon neb fod yn gadwedig oddiethr yn vnig y rhai a ail-genir.

*Theol.* Hynny yn ficcr yw fy meddwl.

*Phila.* Adolwyn, dywedwch i mi pa fath beth yw'r ail-genedliad hwnnw, ar genedigaeth newydd, yr hwn yr ydych yn fôn am dano?

*Beth yw r ailenedigaeth.* *Theol.* Adnewyddiad, ac adgyweiriad ydyw ar lygredig, a methedig gyflwr ein eneidiau: megis y mae yn fcrifennedig: *Ymnewidiwch gan adnewyddiad eich meddwl.*

Rhuf. 12. 2. Ac eilchwel; *ymadnewyddwch yn yfpryd*

Ephe. 4. 23. *eich meddyliau.*

*Phila.* Eglurwch y pwngc hwn yn hyfpyfach.

*Theol.* Megis y mae'r oliwydden wyllt yn cadw ei hên naturiaeth, hid onid impier hi mewn oliwydden ber, eithr wedi hynny, y mae hi yn gyfrannog o naturiaeth newydd: felly ninnau hyd onid impier ni ynghrift, ŷm yn cadw ein hên naturiaeth: eithr wedi ein impio, i'n troir i naturiaeth

2 Cor. 5. newydd: fel y mae yn fcrifennedig: *Od*

17. *oes neb ynghrift y mae efe yn greadur newydd.*

*Phila.* Nid wyfi yn deall y peth yr ydych yn ei ddywedyd.

*Theol.* Gwybyddwch chwithau hyn, fef megis yn y genedigaeth naturiol, yr ydys yn geni dyn yn hollawl, neu'r holl ddyn: felly yn y ganedigaeth yfprydol yr ydys yn geni yr holl ddyn.

*Phila.* Pa fodd y bydd hynny?

*Theol.* Pan fyddo naturiol fwydd-geneddiau

neddfau yr enaid sef y rheswm a'r deall, yr ewyllys, ar nwydau, ac aelodau y corph hefyd wedi eu sancteiddio, a'u glanhau, a'u hadgyweirio drwy râs hyd oni bônt yn deall, yn ewyllysio, ac yn deisyfu yr hyn sy dda.

*Phila.* Oni ddichon dyn ewyllysio, a deisyfu yr hyn sy dda cyn ei ail-geni?

*Theol.* Na ddichon, mwy nac y dichon dyn marw ddeisyfu daionus bethau y byd hwn. Canys nid yw ewyllys dyn yn rhŷdd i gydsynnied ar da, hyd oni ryddhaer ef drwy râs. A pha ddyn bynnag nis ail-ganed etto, ni ddichon hwnnw amgen na phechu; a hynny yn ddigymmell. Oblegid y mae ewyllys dyn yn rhŷdd oddiwrth gymmell, (am ei fod oi waith ei hun yn pechu) eithr nid yw efe yn rhŷdd oddiwrth gaethiwed i bechod.

*Phila.* Dywedyd hyn yr ydych, sef na ddichon dyn amgen na phechu, hyd oni weithier y gwaith newydd ynddo.

*Theol.* Je hynny yw fy meddwl. Oblegid dyn ai gnawd, vn ydynt hyd oni aner ef drachefn. Cyttuno y maent ai gilydd, fel gŵr a gwraig yn cyttal, cydsynnio a wna'r naill arllall ym mhob drygioni: byw a marw ynghyd: canys pan ddarfyddo am y cnawd, derfydd am y dyn hefyd.

*Phila.* Onid yw 'r ail-genedigaeth hon yn newidio, neu yn hyttrach, yn dinistrio naturiaeth ddynol? B 2 Theo.

*Theol.* Nac ydyw, nac yn diddymmu, nac yn newidio sylwedd y corph na'r enaid: eu diwygio yn unig y mae'r ail-enedigaeth, a'u cyweirio drwy dynnu ymmaith y llygredigaeth sydd ynddynt.

*Phila.* A ydys yn glanhau, ac yn carthu ymmaith drwy ras, ein llwgr naturiol ni mor llwyr, ac nad oes dim o honaw yn aros mwyach ynom, ond ein bod o hynny allan wedi ein cwbl-ryddhau oddiwrtho, ac yn lân o honaw?

*Theol.* Nac ydys. Oblegid y mae gweddillion ein hên naturiaeth (y rhai a elwir yn y scrythyrau yr hen ddyn) yn glynu wrthym, ac yn aros ynom, ie hyd ddydd ein marwolaeth: megis y profir yn eglur yn y deg adnod olaf o'r seithfed at y Rhufeiniaid.

*Phila.* Wrth hynny dywedyd yr ydych chwi fod y dyn newydd ymma, neu newyddwaith gras, ac ail-enedigaeth yn anorphen, ac yn amherffaith yn y byd ymma.

*Theol.* Je, hynny yr wyf yn ei ddywedyd. Oherwydd ni ddichon y creadur newydd, neu newydd-waith grâs gael byth ei gwbl-ffurfio, a'i lwyr berffeithio yn y bywyd hwn, eithr y mae ar waith bob amser, ac er hynny yn anorphen: ond megis yn y byd ymma y mae ein ffydd ni, a'n gwybodaeth yn amherffaith, ac a diffig ynddynt: felly y mae ein adenedigaeth,

eth, a'n sancteiddiad hefyd yn amherffaith.

*Phila.* Chwi a ddywedasoch or blaen fod yr holl ddyn yn ail-geni, neu yn geni o newydd; yr hwn ymmadrodd sydd yn arwyddocau fod newydd waith grâs mewn dyn yn gyflawn ddigoll, ac yn berffaith-gwbl.

*Theol.* Cam-synnied yr ydych; oblegid er bod y genedigaeth newydd yn hollawl, ac yn llwyr-gwbl, am a berthyn ir holl ddyn, etto nid yw yn ddiddiffig, yn berffaith, yn bur, yn ddigymmysc, ac yn ddilwgr. Canys scrifenndig yw; *Y Cnawd a chwennych yn erbyn yr yspryd, ar yspryd yn erbyn y cnawd: A'r Apostol hefyd sydd yn gweddio ar gael or Thessaloniaid eu sancteiddio yn gwbl oll yn yr yspryd, ar enaid, a'r corph.*

*Phila.* Y mae y pwngc hwn yn syrn dywyll, yspyswch efattolwg, yn eglurach.

*Theol.* Hyn sy raid i chwi ei ystyried, nid amgen, fod y ddau waith sef y newydd a'r hen, y cnawd a'r yspryd, grâs a llygredigaeth wedi eu cyd-gymmyscu a'u gilydd drwy holl nerthoedd, a synhwyrau enaid, a chorph yn y cyfryw fodd, hyd onid yw y naill yn ymdrech yn oestadol yn erbyn y llall.

*Phila.* Pa fodd, adolwyn, y deellwch chwi y cyfryw gydgymmysc o râs, a llygredigaeth yn yr enaid: Ai meddwl yr ydych chwi fod gras wedi ei gyfleu, a'i osod yn y

nail ran i'r enaid, a bod llygredigaeth yn y rhan arall, a'u bod ill dau ar wahan oddiwrth eu gilydd o ran lle?

*Theol.* Nage: nid hynny yw fy meddwl, eithr hyn, fef bod y ddau hyn wedi eu cyffylltu ai gilydd, ai cymmyfcu ynghyd (fel y dywedais) drwy'r holl ddyn. Canys y meddwl, neu'r deall nid yw yn y naill ran yn gnawd, ac yn y rhan arall yn yfpryd; Eithr y deall fydd ei gyd-oll yn gnawd, ac ei gyd oll trwyddo yn yfpryd: peth or naill, a pheth o'r llall yn gymmyfcedig ai gilydd. Ar vn peth fydd iw ddywedyd am yr ewyllys, a'r nwydau.

*Phila.* Attolwg, hyfpyfwch hyn yn eglurach.

*Theol.* Megis y bydd yr awyr ar y cyfddydd, neu yn y Cyfnos, nid yn llwyr oleu, nac yn llwyr dywyll, megis ar hanner dydd, neu ar hanner nos: ac nid yw chwaith yn y naill fan yn dywyll, ac mewn man arall yn oleu; eithr yr awyr fydd trofti oll yn † lled-oleu, ac yn lled-tywyll, goleuni a thywyllwch yn ymgymmyfc au gilydd yn gyflewyrch trofti oll: Neu megis mewn llestred o ddwfr claiar, nid yw'r dwfr nac oer yn vnig, na brŵd yn vnig, ond hoiwdwymyn drwyddo oll, brŵd ac oer wedi ymgymmyfc a'u gilydd ym mhob rhan or dwfr: felly y mae cnawd ac yfpryd wedi ymgymmyfc au gilydd mewn enaid dyn. Ac dyna'r achos

† Llwyd-oleu, a llwyd-tywyll.

achos sy'n peri i'r ddau hyn fod mor anghyttun ai gilydd, yn ymryson beunydd.

*Phila.* Diau fod yr athrawiaeth hon ynghylch yr adenedigaeth yn ddirgelwch mawr tros ben.

*Theol.* Je yn wir, dirgelwch y dirgelion ydyw, y cyfryw ac nas gall doethion y byd hwn ei gyrhaeddyd ai ddirnad.

*Phila.* Rhai a dybiant fod mwyneidddra, tiriondeb, medrusrwydd, naturioldeb, a chyweithasrwydd yn adenedigaeth: ac nad rhaid ammeu na bydd dynion boneddigaidd, a llednais yn gadwedig.

*Theol.* Y sawl a dybiant hynny a gamdybiant. Oblegid nid yw angenrhaid yn gofyn bod y rhinweddau hyn yn ddiball yn y rhai a fyddant cadwedig, eithr hwy a geir yn fynych mewn dynion llwyr afreol-gar ac anghrefyddol. Er hynny ein rhan ni yw mawrhau y cyfryw geneddfau rhinweddol, ar sawl y ceffir hwynt ynddynt.

*Phila.* Beth a ddywedwch chwi am ddysc, synwyr, a * chyfrwysdra? onid yw y pethau hyn o sylwedd gwir grefydd, ac yn argoelion hynod o'r adenedigaeth? * *Calliueb.*

*Theol.* Nac ydynt ddim. Oblegid cyneddfau cyffredin ydynt, ac a geir yn y rhai mwyaf eu drygioni, megis mewn Papistiaid, Paganiaid, Poetau, a Philosophyddion: ac etto nyni a ddylem berchi, a mawrhau gwŷr dyscedig, doethion, er na

 byddo

byddo newydd-waith yr adenedigaeth wedi ei weithio etto ynddynt. Canys oddi vchod y mae hwnnw yn dyfod oddiwrth dduw yn vnig.

*Phila.* Y cyffredin bobl a wna gyfrif mawr o ddysc, a challineb: Canys hwy a ddywedant fod y gŵr ar gŵr yn ddyscedig ac yn ddoeth, ac yn gwybod yr Scrythyrau yn gystal ar gorau, ac etto nid yw efe yn gwneuthur fel hyn, ac fel hyn.

*Theol.* Un peth yw gwybod histori, a geiriau yr Scrythyrau, a pheth arall yw clywed eu grym, au nerth hwynt yn gweithio yn y galon: yr hwn beth nid oes dim ai cynnyrfa ynom, ond yr yspryd sy'n sancteiddio, yr hwn ni ddichon nebo ddoethion y byd hwn ei dderbyn. *Joan.* 14. 17.

*Phila.* Y mae llawer yn tybied hyn, sef os bydd dŷn yn medru adnabod y gwirionedd, ac yn glynu ynddo, drwy na byddo efe na Phapist na * Heretic, eithr yn byw yn ônest, ac yn weddaidd, na ddichon ddigwyddo amgenach na byddo hwnnw cadwedig.

* *Gau-gredadyn.*

*Theol.* Nid yw hynny yn canlyn: oblegid y mae llawer yn cyrhaeddyd hyd y fan honno, ac etto nid oes ganddynt y cynnwrf hwnnw oddifewn.

*Phila.* Peth rhyfedd yw hynny. Canys llawer a ddywed, trwy na byddont na phut-

phutteinwyr, na lladron, nac yn ymroi i'r cyfryw feiau anafus, fod eu gobaith y byddant cadwedig.

*Theol.* Cyfeiliorni y maent, am na wyddant yr Scrythyrau: Canys y mae llawer mîl o bobl mewn perigl o golli eu eneidiau yn dragwyddol, ac etto yn ddiangol, ac yn ddichlin-gwbl oddiwrth y cyfryw feiau ffiaidd, ac anafus. Je llawer, meddaf, y rhai â gymmerir yn wŷr ôneſt da, yn trîn y byd yn vnion, ac yn dda, yn gymmydogion da, ac yn ddinaſyddion da.

Aſune. *Attolwg Syr, rhoddwch i minnau gennad: Mi â glywais eich holl ymadroddion hyd yma; ac yr wyf yn tybied yn rheſymmol, ac yn daran dda o honynt, eithr ni allaf ymattal yn hwy na hyn, Fynghydwybod ſy'n fynghymmell i lefaru. Ac i'm tyb i, yr ydych chwi yn myned yn rhy-bell, ac y tu hwnt i'ch dyſceidiaeth yn hyn o beth, ſef lle yr ydych yn condemnio cymydogion da, a dinaſyddion da. Dywedyd yr ydych fod llawer or cyffelyb mewn perigl o golli eu eneidiau:* Ei*thr ni choeliaf fi hynny byth tra fyddo chwythad ynof: Canys os y cyfryw ddynion ni byddant cadwedig, ni fedrafi wybod pwy a fydd cadwedig.*

*Theol.* Ond y mae yn rhaid i chwi ddyſcu o'r Scrythyrau, na thyccia goneſtrwydd bydol, a chyfiawnder oddiallan i ddwyn dyn

i fywyd tragwyddol, heb wir wybodaeth o dduw, ac athrylith dduwiol oddimewn: Megis y dywed ein Jachawdwr Chrift: *Oni bydd eich cyfiawnder chwi yn helaethach na chyfiawnder yr Scrifennyddion ar Phariseaid, ni ellwch chwi fyned i mewn i deyrnas nef.* Hefyd pan bregethodd St *Paul* yn Berea, llawer o wŷr, a gwragedd ônest a gredasant, sef rhai ônest yn y golwg, ac yn vnig oddiallan yn ônest. Canys ni allent etto fod yn wir ônest oddi mewn cyn iddynt gredu. Wrth hyn chwi a welwch nad yw y gonestrwydd bydol hwn oddiallan yn vnig yn tyccio i fywyd tragwyddol, heb adenedigaeth yr yspryd oddimewn. Ac o hyn y canlyn fod eich holl wŷr ônest bydol chwi mewn perigl o golli eu eneidiau yn dragwyddol.

Asune. *Pa refwm a fedrwch chwi ei roddi trofoch i brofi y bydd y cyfryw wyr oneft yn golledig?*

*Theol.* O herwydd bod llawer o'r cyffelyb, heb ganddynt ddim gwybodaeth o dduw, nac o'i air. Je a pheth fydd waeth, y mae llawer o honynt yn dirmygu gair duw, ac yn casau pawb a ewyllyfient ymgais ag ef yn wir grefyddol. Ni wnant mwy cyfrif o bregeth-wyr, nac o wâgsiarad-wyr: ni phrifiant o bregethau mwy nac o hên-chwedlau: o'r Scrythyrau mwy nac o'u hên efcidiau. A pha obaith a ddichon

chon fod, y bydd y rhai hyn cadwedig? *Pa fodd y diangwn os esceulusiwn iechydwriaeth gymmaint*. Heb. 2. 3.

Asun. *Rhy-bell yr ydych chwi yn myned, a rhydost yw eich barn am danynt.*

*Theol.* Nid dim, na rhy bell, na rhydost: Oblegid nyni a welwn wrth brawf, a chydnabyddiaeth, nad ydynt yn rhoddi eu bryd, a'u serch, a'u meddwl ar ddim amgen ddydd a nôs, ond ar y bŷd, y bŷd, ar eu tiroedd, a'u scrifennadau, eu cyliid, au hardreth, eu gwartheg, au defaid; a pha fodd y gallant ymgyfoethogi. Am y pethau hyn a'r cyffelyb y mae eu holl feddyliau, geiriau, a'u gweithredoedd: helynt eu buchedd, a'u ymddygiad a ddengys yn amlwg mai or ddaiar y maent, ac am y ddaiar, y llefarant, ac nad oes dim ynddynt ond daiar, daiar. Ac am bregethau, nid gwaeth ganddynt er lleied o honynt a glywant. Ac am yr Scrythyrau, ni wnâant fawr gyfrif o honynt. Nid ydynt yn eu darllain, nac yn bwrw y talant dreulio'r amser wrthynt. Nid oes dim mor wrthwynebus ganddynt. Dewisent bob rhyw oferwaith, yn hyttrach na gwrando, neu ddarllain gair duw, neu ymgommio o'r Scrythyrau. Ac fel y dywed y Prophwyd: *Dirmygus ganddynt air yr Arglwydd, nid oes ganddynt ewyllys iddo*, Jer. 6. 10.

*Phila.* Rhyfedd yw gennifi, fod y cyfryw

ddynion

ddynion. yn byw mor ônest tu ag at y byd.

*Theol.* Nid oes mor rhyfeddod o hynny. Oblegid y mae llawer o ddynion drwg, ai calonnau yn fregus, ac yn afiach oddimewn, a fedrant ymgadw, ac ymattal rhag gwneuthur pechodau anafus, oherwydd rhyw achosion cnawdol: rhai rhag angoel, anair, ac anghymeriad; rhai rhag cospedigaeth, a dial; eithr nid oes neb o honynt yn ymgadw felly o wir gariad ar dduw, neu o awydd-fryd calon er dangos vfydd-dod iw air. Canys diammeu ydyw, fod yn y drygionus yspryd i beri ymattal, ond nid i adnewyddu.

*Phila.* Cyffelybus yw wrth eich geiriau chwi, fod rhai o'r sawl ydynt etto heb eu hail-geni, mewn rhyw bethau yn rhagori ar blant duw.

*Theol.* Digong wir yw hynny fod rhai o honynt yn rhagori, ac yn myned tu hwnt i'r etholedigion mewn doniau cyffredin oddiallan, ac yn eu ymddygiad yngolwg y byd.

*Phila.* Dywedwch i mi, attolwg, ym mhâ ddoniau?

*Theol.* Mewn dysc, synwyr, vniondeb, cymmedroldeb, callineb, ammynedd, haelioni, mwyneidd-dra, caredigrwydd, boneddigeiddrwydd, tiriondeb, a'r cyffelyb.

*Phila:* My fi â dybygwn na byddei bossibl hynny.

*Theol.* Beth bynnag a dybygych chwi, etto hynny sy'n digwyddo. Canys rhai o anwyl blant Duw (yn y rhai y mae y dirgelwaith oddisewn sef yr adenedigaeth wedi ei weithio yn bur, ac yn ddilys) a drallodir, ac a gythryblir gan naturiaeth afrywiog, ac anhydyn; ac a rwystrir gan ryw bechod taerddrwg: sef rhai gan ddigllonedd, a rhai gan falchder, rhai gan gybydd-dra, ac eraill gan drachwant; rhai gan y naill beth, ac eraill gan beth arall. Ar holl feiau hyn wrth eu bod yn tarddu allan ynddynt hwy, ydynt mor anhardd arnynt, ac ar eu crefydd, ac na allant oblegid eu gwendid ddiscleirio ger bron dynion megis y dylent, ac yr ewyllysient. Ac dymma'r peth sy'n briwo, yn dolurio, ac yn gofidio eu calonnau, ac yn tynnu oddiwrthynt lawer deigr hallt, a llawer gweddi ddirfing. Ac er hyn nid ydynt yn gallu llwyr orchfygu y beiau hyn; eithr hwy a adewir ynddynt megis swmbwl yn y cnawd iw darostwng.

*Phila.* Etto cariad a ddylai guddio lliaws o'r cyfryw wendid ym mhlant duw.

*Theol.* Fe ddylei hynny: eithr mae diffig mawr o gariad yn y rhai goreu: Ar gwaethaf wrth ganfod y gwendid hwn yn y duwiol, a ruthrant arnynt yn fasn-rhwth gan eu condemnio, a barnu eu calonnau: gan haeru mai rhagrith-wyr; a

a thwyll-wyr ydynt ; ac nad oes neb waeth na hwynt.

*Phila.* Onid ydych chwi yn tybied fod rhai ffuantwyr yn rhagreithio ym mhlîth y proffeſſwyr goreu ?

*Theol.* Y mae heddyw, ac e fu erioed ragreith-wyr yn yr eglwys; eithr ymogelwn farnu, a chondemnio pawb am feiau rhai. Canys caled tros ben, a thôſt fyddei euog-farnu Criſt, ai vn Apoſtol ar ddêg o achos drygioni vn *Judas* : neu'r brif-eglwys oll am fai *Ananias* a *Saphira*.

*Phila.* Gwir yw hynny, ond etto gobeithio eich bod yn coelio, fod rhai o'r ſawl a ail-ganed, o herwydd rhinweddau canmoladwy ac ymddygiad gweddol oddiallan iw cyſtadlu ag eraill o'r rhai gorau.

*Theol.* Diammeu fod llawer felly : Oblegid hwynt-hwy a chanddynt yſpryd duw iw cyfarwyddo, ai râs ef iw cynnal, a rodiant yn gyfiawn , ac yn ddifeius o flaen dynion.

*Phila.* Eithr y mae vn cwlwm etto heb ei ddattod, ſef rhyfedd yw, i'm tŷb i, fod dynion mor weddol yn eu ymddygiad , ac mor ddiandlawd eu rhinweddau ceneddfol,ac er hynny heb fod yn gadwedig : greſyndod mawr tros ben fod y cyfryw ddynion yn golledig.

*Theol.* Felly yn ddiau, y tybiem ni. Eithr duw ſydd vnig ddoeth , ac y mae

yn rhaid i chwi ystyried hyn: megis y mae ym mhlant duw beth gwendid y rhai a gospa efe a cheryddon bydol, ac etto efe a wobrwya eu ffydd, eu cariad, eu ewyllysgar wasanaeth, a'u vfydd-dod, drwy roddi iddynt fywyd tragwyddol: felly yn y drygionus, a'r anghristianogaidd, y mae rhyw bethau da, y rhai a wobrwya duw a bendithion amserol, ac er hynny am eu hanghrediniaeth, a'u caledrwydd calon ai cospa yn dragwyddol.

*Phila.* Hyd yma i'm bodlonwyd yn rhesymmol am athrawiaeth yr adenedigaeth, a'r amryw amrysusedd, ar twyll sydd yn llechu ynddo, ac yn codi o honaw. Bellach, ewch rhagoch, adolwyn, ac yn gyntaf peth mynegwch i mi, drwy ba foddion, a chyfryngau y gweithir yr adenedigaeth mewn dyn.

*Theol.* Drwy bregethiad y gair megis môdd amlwg oddiallan, a dirgel-waith yr yspryd megis modd a chyfrwng oddi mewn. Jac. 1. 18. Rhuf. 10. 17. Joan. 3. 6.

*Phila.* Llawer sy'n gwrando ar bregethu'r gair, ac heb fod ddim gwell erddo, ond yn hytrach yn waeth: beth, attolwg yw'r achos o hynny? *Act*, 19. 9.

*Theol.* Eu hanghrediniaeth, au calongaledwch, oherwydd bod duw yn ei ddigofaint, yn eu gadael arnynt eu hunain, ac yn attal ei yspryd oddiwrthynt, heb yr hwn nid

nid yw pregethu ond ofer. Canys oddieithr bod yr yspryd yn canlyn y gair i'n calonnau, ni allwn ni gael na llawenydd oddiwrtho, na blâs, na chyssur ynddo, *Eph.* 4. 18. *Act.* 16. 14.

*Phila.* Oni ddichon dyn gael ei ail-geni heb y gair a'r yspryd?

*Theol.* Na ddichon: oblegid y rhai hyn ydynt y moddion ar cyfryngau, drwy ba rai y mae duw yn gweithio'r peth.

*Antil.* Paham na ddichon dyn, heb glywed dim pregethu, fod ganddo gystal ffydd tu ag dduw, a'r hwn a glywo holl bregethau'r byd?

*Theol.* Paham na ddichon dŷn ni fwyttao ddim bwyd, fod mor bwyntys ac mor olygus a'r hwn sy'n bwytta holl fwydydd y byd? Canys onid pregethiad y gair yw ymborth ein eneidiau? 1 *Pet.* 2. 2. Jer. 15. 16.

*Antil.* Nid wyfi yn gweled fod yn dda gymmaint o wrando ar bregethau, a darllain yr scrythyrau, oni bai allu o ddynion eu cadw yn well.

*Theol.* Gwrandawyr ffyddlon, ac ônest, a wrandawant ynddiwyd, er mwyn gallu yn haws gadw, a gwneuthur. Canys ni ddichon dyn wneuthur ewyllys duw hyd onis gwypo, na'i wybod heb wrando a darllain.

*Antil.* Yr wyfi yn rhyfeddu pa lesâd y mae dynion yn ei gael drwy redeg en i bregethau, a llygad-rythu cymmaint ar yr Scrythyrau;

thyrau ; neu pa faint ydynt hwy well nac eraill ? nid oes neb lawnach na hwynt hwy o genfigen a malis. Hwy a wnânt anghymwynas, ac atcafrwydd iw cymmydog cyn gynted a'r cyntaf. Ac am hynny i'm tyb i, nid ydynt ond bagad o ragreithwŷr, a ffyliaid crefyddol.

*Theol.* Barnu yr ydych chwi yn angharîadol. Bychan iawn y gwyddoch chwi pa gynnwrf fydd ynddynt hwy, neu pa lesâd y mae pobl dduw yn ei gael o wrando ei air ef. Oblegid dirgel tros ben, a llwyr guddiedig oddiwrth y bŷd yw gweithrediad ysprŷd duw ynghalonnau yr etholedigion; fel y mae yn Scrifennedig. *Y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno, a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le yr â : felly y mae pawb ar a aned o'r ysprŷd.* Drachefn, *nid edwyn neb bethau duw, ond ysprŷd duw*, Joan. 3. 8. 1 Cor. 2. 11.

*Antil.* Pa raid y fâth drafferth a hynny? O dywed dyn ei Bader, a'i Gredo, a'i ddeg gorchymmyn, a bod heb ddywedyd drŵg am neb, na gwneuthur niwed i neb, a gwneuthur i eraill fel yr ewyllysiei wneuthur iddo yntau: a bod ganddo ffydd dda tu ag at dduw, a bod o grefydd dda, diddadl yw y bydd hwnnw cadwedig heb y rhedegen ymma i bregethau, ar dadwrdd ynfyd hwn am yr Scrythyrau.

*Theol.* Yr awr hon y tywalltasoch allan eich meddwl o wrantu, gan dybied lefaru o honoch

honóch yn synhwyrol. Eithr, sywaeth dateuddio yr ydch eich dygn anwybodaeth. Canys meddwl yr ydych, y dichon dyn fod yn gadwedig heb y gair; yn yr hyn beth mawr yw eich camsynnied.

*Antil.* Nid gwaeth, dywedwch chwi a fynnoch, a holl bregethwyr y byd gŷdâ chwi, tra y gwasanaethwyf fi dduw, ac y dywedwyf fyngweddi yn ddyfal nôs a borau: a bod gennif ffydd dda yn nuw, ac y gosodwyf fy holl ymddiried ynddo; ac y dygwyf galon dda, a meddwl da tu ag at dduw, er nad wyf ddyscedig, etto gobeithio y gwasanetha hynny tu ag at iechydwriaeth fy enaid. Canys rhaid yw i'r duw am gwnaeth fynghadw. Nid chwi a'm ceidw, o'ch holl ddysc, a'ch Scrythyrau.

*Theol.* Eich cyffelybu a ellir yn gymmwys i ddyn clâf, ai ymennydd wedi anhwylio, a myned yn an-wastad gan ormod gwrês, ac o hynny yn amleferydd, ac yn gwâg-siarad, heb wybod beth a ddywaid.
Dihar. 28. 9. Canys yr yspryd glân a ddywaid: *Y neb a dry ei glûst ymmaith rhag gwrando'r gyfraith*
Dihar. 13. 13. *ffiaidd fydd ei weddi hefyd.* Drachefn; *Yr hwn a ddirmygo'r gair, a ddifethir o'i blegid.* Am hynny tra y dirmygoch chwi air duw, ac y trôch ymmaith eich clûst rhag gwrando ei efengyl ef pan y pregether, eich gweddiau oll, a'ch dychymmyg-waith eich

hun

hun ar wasanaethu duw; eich meddyliau, a'ch amcanion da fyddant ofer a diffrwyth a ffiaidd, a chasedig yngolwg duw. Megis y mae yn scrifennedig: *Eich lleuadau newydd, a'ch gwyliau gosodedig a gasaodd fy enaid; y maent yn faich arnaf, blinais yn ei dwyn. A phan estynnoch eich dwy-law, cuddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan weddioch lawer ni wrandawaf; eich dwylo ydynt yn llawn gwaed:* Ac eilchwel y dywaid yr un Prophwyd: *Yr hwn a laddo ŷch sydd fel yr hwn a laddo wr: Yr hwn a aberthe oen sydd fel yr hwn a dorfynyglo gî. Yr hwn a offrymmo fwyd offrwm, sydd fel yr hwn a offrymmo waed môch: Yr hwn a arogl-dartha thus, sydd fel pe bendigei eulyn.* Ymma y gwelwch fod yr Arglwydd yn dywedyd wrthych ei feddwl am y pethau hyn: Nid amgen, bod eichgweddiau oll, a'ch gwasanaeth, a'ch meddwl da yn ffiaidd ganddo ef, tra y rhodioch mewn anwybodaeth, halogrwydd, anufydd-dod, a dirmig ar yr efengyl. Canys yn y geiriau diweddaf or blaen y dywaid: *Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan, gostyngedig o yspryd, a'r hwn sydd yn crynu wrth fy ngair,* Esay.66.2.

Esay. 1. 14. 15.

Esay.66. 3.

Asune. *Cyfaddef yr wyf, am rai segur heb nemmawr ganddynt iw wneuthur, nad oes ormod niwed er gwrando o honynt ymbell bregeth; ac weithiau darllain yr Scrythyrau:* Eithr am eraill, *ni chawn mor ennyd: Y mae*

yn

*yn rhaid i ni ddilyn ein gorchwyl: ni allwn ni mor byw wrth yr Scrythyrau. Nid dynion diddysc sydd i drin y rheini. Rhy ddyfnion ydynt i ni, ni bydd i ni a wnelom a hwynt. I bregethwyr, ac i eglwyswyr y maent yn perthyn.*

Joan. 10. 27. *Theol.* Christ a ddywaid: *Y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais, ac yr wyf finnau yn rhoddi iddynt hwy fywyd tragwyddol.* Os chwi a wrthodwch wrando llais Christ, nid ydych o'i ddefaid ef, ac ni ellwch gael bywyd tragwyddol. *Y mae yr hwn sydd o*

John 8. 47. *dduw yn gwrando geiriau duw, am hynny nid ydych chwi yn gwrando, am nad ydych o dduw. St* Paul yn scrifennu at bob math ar ddynion, cyfoethog, a thlawd, vchel ac issel, meibion a merched, hên ac ieuaingc, a'i cynghora i dderbyn gair *Crist i*

Col. 3. 16. *breswylio ynddynt yn helaeth ym mhôb doethineb*; Chwi a welwch wrth hyn y mynnai yr Apostol i bob math ar ddynion ac sydd ganddynt eneidiau iw cadw, fod yn gydnabyddus ar Scrythyrau. Ac am hynny chwi a ellwch yn gystal ddywedyd, na bydd i chwi a wneloch a duw, ac a Christ, ac a bywyd tragwyddol: a dywedyd na bydd i chwi a wneloch a'r Scrythyrau.

Asune. *Mysi ni fedraf mor darllain, ac am hynny nid wyfi yn gwybod heth a ddywaid Christ, neu St* Paul: *Ond hyn a wnn i yn dda, mai gwr da yw duw (Gogoniant iddo)*

*iddo:) a thrugarog tros ben, a bod yn rhaid i ni fod yn gadwedig drwy ein gweddiau da, a'n gwasanaeth da i dduw.*

*Theol.* Ynfyd yr ydych chwi yn siarad, ac anwybodus ym mhôb peth a ddywedwch: heb gennych ddim rheswm iw roddi trosoch am ddim ar a ddywedwch, ond eich tŷb, a'ch amcan eich hûn; ac er hynny chwi a goeliwch eich tŷb eich hûn o flaen yr holl bregth-wyr, ac yn erbyn beth bynnag a aller ei adrodd allan o air duw. Eithr, adolwyn, rhoddwch i mi gennad tros ychydig. Pe breuddwydiei ddyn ei fod yn frenin; ar boreu pan ddeffroe, coelio ei fod felly, ond iawn, a chymmwys oedd chwerthin am ei ben, ac ynteu heb ganddo ddim iw roddi trosto? yr vn ffunyd am y rhai a goeliant eu breuddwydion, au dychymmygion eu hunain ynghylch eu iechydwriaeth, ond iawn oedd chwerthin am eu pennau? Eithr gwir yw'r hyn a ddywaid *Salomon: Yr ynfyd a goelia bob peth.* Sef fod coppr yn aur, a chowntrysen yn angel. Ac yn ddiau dirysedd yw am yr hwn ni choelia dduw, i dduw ei roddi ynteu i fynu i goelio y cythraul, a'i freuddwydion, a'i ddychymmygion. Diha. 14. 15.

*Asune. Attolwg i'wch, dyscwch chwi fi yn well.*

*Theol. Digon rhaid oedd i chwi gael eich dyscu yn well.* Canys y mae'r cythraul drwy

ei

ei gyfrwyfdra wedi hudo eich enaid a bwrw niwlen tros eich llygaid, drwy beri i chwi goelio fod y frân yn wen, fef fod eich cyflwr chwi ger bron duw yn dda, ac yntef mewn gwirionedd yn refynol, ac yn dofturus.

Afune. *Nagê yr wyfi yn ymwrthod ar cythraul o wir ewyllys fynghalon: Eithr mi a ddamunaf arnoch ddangos i mi; pa fodd y digwyddodd fy nhwyllo mor fwrth a hynny.*

*Theol.* Dymma'r modd y twyllwyd chwi, a llawer eraill gyd a chwi: fef am eich hod yn eich mefur eich hun wrthych eich hun, ac wrth eraill. Yr hwn fefur fydd anghywir. Canys ymddangos yr ydych yn vnion tra y mefurer chwi wrthych eich hun, ac wrth eraill: eithr gofoder chwi wrth wialen fefur, a rheol gair duw, ac yno y ceir eich gweled yn ŵyrgam ddybryd, 2 *Cor.* 10. 12.

Afune. *Beth gyd â hyn fy'n fy nhwyllo?*

*Theol.* Peth arall yn eich twyllo yw eich calon eich hun. Canys nid ydych chwi yn dirnad eich calon eich hun, eithr ei chamgymmeryd hi: *Am fod y galon yn*
Jer. 17. 9. *fwy ei thwyll na dim.* Angenrhaid i hwnnw fod yn ddyn doeth a adnabyddo ei galon ei hun: ai fod wedi derbyn goleuni mawr o wybodaeth: Eithr dall ydych chwi, ac ni wyddoch beth fydd ynoch, ond tybied ar eich amcan y byddwch cadwedig: a gobeithio

gobeithio ni wyddoch pa beth, am y bywyd tragwyddol. Ac oblegit bod dallineb, ac anwybodaeth yn eich hyſhau, chwi a ſynnech ymddangos yn hyderus ar eiriau, a dywedyd, mai greſyn oedd gael o honaw ef ſyw, a amheuo ddim am ei iechydwriaeth. A diau ſod eich ymadrodd yn ôl eich tyb a'ch gwybodaeth. Ac am a wyddoch chwi or gwrthwyneb, chwi a dybygych hynny, er nad yw'r peth felly mewn gwirionedd; Canys eich twyllo chwi yr ydys a llewyrch anghywir: A diau, eich bod yn clywed weithiau, bigiadau, a gwewyr, a dychryndod, a dirgel gyhuddiadau cydwybod yn eich blino oddimewn, er hyſed ydych ar eich geiriau oddi allan.

Aſune. *Ar ſyngoneſtrwydd, ni chlywais i gymmaint a hyn erioed or blaen.*

Theol. Yr achos yw am eich bod yn cau eich llygaid, a'ch cluſtiau yn erbyn duw, ac yn erbyn pob daioni. Cyffelyb ydych i'r *neidr fyddar yr hon ni wrendu ar lais y rhinwyr, na'r cyfarwydd ſwynwyr ſwynion*, Pſal. 58 4.

Aſune. *Os felly y mae'r peth, mi a chwennychwn yr awr'hon ddyſcu, o chlywch chwi arnoch ddangos i mi. Ac megis y dangoſaſoch i mi, y modd y gweithir yr adenedigaeth: felly yſpyſwch hefyd arwyddion anſiommedig, ac argoelion diambeus wrth y rhai y gallo pawb wybod yn hy-wir, eu bod wedi*

*eu sancteiddio, a'i hailgeni, ac y byddant cadwedig.*

*wyth o arwyddion ansiommedig o iechydwriaeth.* *Theol.* Y mae ŵyth o arwyddion, a nodau didwyll yn dangos ac yn pennu y dyn a ailganer, Yrhai a ellir yn gymmwys eu cyfenwi ŵyth arwydd iechydwriaeth. A'r rhai hyn ydynt: sef

1 Joan. 3. 14. 1. Cariad tu ag at blant Duw.

Psal. 1.2. 2. Digrifwch yngair Duw.

Zech.12. 10. 3. Aml a difrifol weddio.

Psal.145. 18. 4. Awydd-fryd i osod allan ogoniant Duw.

1 Cor. 10. 31. 5. Ein gwadu ein hunain.

Luc. 9. 23. 6. Dioddef-gar ddwyn y groes er budd, a chyssur, *Heb.* 12. 6, 7, 8.

7. Ffyddlondeb yn ein galwedigaeth.

8. Ymarweddiad ônest, cyfiawn, a chydwybodus tu ag at bob dyn yn ein gweithredoedd, a'n buchedd, *Tit.* 2. 12.

*Phila.* Gan ddangos o honoch i ni arwyddion hyspys o iechydwriaeth, dangoswch i ni hefyd arwyddion damnedigaeth.

*Theol.* Y gwrthwyneb i'r rhai uchod, ydynt arwyddion amlwg o ddamnedigaeth: nid amgenach na'r rhai hyn, sef

1. Angharu plant Duw.
2. Diflasu ar air Duw.
3. Gweddio yn oer, ac yn anfynych.
4. Difrawch yngwasanaeth Duw.
5. Hyder arnom ein hunain.

6. An-

6. Annioddefgarwch tan y groes.
7. Anffyddlondeb yn ein galwedigaeth.
8. Ymarweddiad an'ônest, ac anghydwybodus.

*Phila.* Diau, os halogir dyn ar beiau hyn, arwyddion sceler ydynt fod y dyn hwnnw ai enaid yn glwyfus, ac mewn cyflwr enbydus: eithr onid oes etto arwyddion eglurach, a hynottach o ddamnedigaeth na'r rhai hyn?

*Theol.* Oes yn wir: y mae naw arwydd eglur, ac hyspys o golledigaeth dyn?

*Phila.* Damuno cael clywed y rheini.

*Theol.* 1. Balchder. 2. Putteindra. 3. Cybydd-dod. 4. Dirmig ar yr Efengyl. 5. Tyngu. 6. Celwydd. 7. Meddwdod. 8. Seguryd. 9. Gorthrymder.

*Phila.* Y rhain ydynt feiau anasus yn ddiwâd.

*Theol.* Nid anghymmwys y gellid eu cysenwi hwynt naw Belzebwb y byd. Ar neb sydd ar arwyddion hyn arno, sydd mewn cyflwr gofidus.

*Phila.* Beth o bydd dyn wedi ei lygru â dau neu dri o'r rhai hyn?

*Theol.* Pwy bynnag a lygrir a thri o'r rhai hyn, sydd mewn perigl o golli ei enaid. Canys gwenwyn cynhwynol yw y rhai hyn oll: a phob tri o'r rhain pa un bynnag ai'r tri cyntaf, ai'r tri olaf, ai'r tri canol, ydynt ddigon i wenwyno yr enaid i

C far-

farwolaeth: Je, ac o ddywedyd y gwir ni byddei waeth i ddyn ddwrn-wascu llyffant, a theimlo neidr, na chymmyrhedd ag vn o'r rhai hyn.

*Phila.* A yw pob vn o honynt mor enbaid?

*Theol.* Ydyw, canys echrys-haint yr enaid ydynt: os bydd dyn ar cornwyd ar ei gorph, ein harfer ni yw dywedyd; fod nodau duw arno; duw a drugarhao wrtho; Felly y gallwn ddywedyd yn hydda; o bydd neb yn galon-glwyfus, ac wedi llwyr-glafychu o'r vn o'r rhai hyn, fod nodau duw ar ei enaid: yr Arglwydd a drugarhao wrtho.

*Phila.* Nid yw llawer yn tybied fod y pethau hyn mor beryglus ac y dywedwch chwi; Ie mae llawer yn gwneuthur cyfrif bychan o honynt.

*Theol.* Gwir yw hynny: Canys y mae y rhan fwyaf o'r byd wedi eu gwarchau mewn dallineb, a chaledrwydd calon, heb na chanfod eu pechodau, nac ymwrando a hwynt; ac am hynny yn gwneuthur cyfrif bychan o honynt, gan dybied nad oes mor fath berigl ynddynt.

*Phila.* Diammeu yw fod dynion yn chwannog i wneuthur pris bychan o'u pechodau, ac iw lleihau: neu iw cuddio, ac iw toluro a llawer o ddychymmygion dichellgar, a gwâg escusodion. Canys y mae llawer

wer yn chwanegog beunydd i lechu, ac i ymddolennu fel nadroedd er mwyn cuddio eu pechodau : ie pe bai bossibl, i wneuthur pechod yn ddibech, i droi rhinwedd yn fai, a bai yn rhinwedd. Am hynny attolwg i chwi adrodd o'r Scrythyrau mor anguriol, ac mor ffiaidd yw eu pechodau hwynt.

*Theol.* Mor erchyll, ac mor ffiaidd yw aruthredd y pechodau hyn, ac na ddichon dyn, nac ar dafod fynegu, nac mewn Scrifen yspysu eu holl frynti, a'u ffieidd-dra yn ôl eu dull, au naturiaeth. Etto myfi â wnaf fyng-goreu ar eu gosod hwynt allan ar gyhoedd i beri i bawb eu ffieiddio hwynt yn fwy.

*Phila.* Attolwg i chwi gan hynny, dechreuwch yn gyntaf ar falchder.

*Theol.* Da y dywedwch : Canys iawn yw i hwnnw gael bod yn flaenor : am ei fod yn echrys-haint pennaf o holl anafau yr enaid.

*Phila.* Dangoswch allan or Scrythyrau fod balchder mor anguriol, ac mor athrugar.

*Theol.* *Ffiaidd gan yr Arglwydd bob dyn vchel-galon.* Yr hyn â ddengys yn eglur fod duw yn gwrthwynebu, ac yn casau y beilchion. Ac onid peth ofnadwy dybygwch chwi, i ddyn fod yn ffiaidd gan dduw? Ac yn yr vn bennod y dywed. *Balchder sydd yn myned o flaen dinistr, ac vchelder yspryd o flaen cwymp.* Ymma y dengys yr yspryd glân fod balchder yn rhagflaenu rhyw Diha. 16. 5. Diha. 16. 18.

 gwymp

gwymp tra-mawr, naill ai trwy anair, neu golli ei gymmeriad. Canys hên wir ddihareb a ddywed: *Balchder a gaiff gwymp.* A mynych y gwelir, pan fyddo dynion wedi ymgodi vchaf, yna y maent yn nessaf i syrthio: Megis wrth siamplau *Haman*, *Nebuchadnezzar*, a *Herod*, y gwelir yn eglur. Pan fyddo'r ddueg yn chwyddo, y bydd y corph mewn mannau eraill yn darfod: felly pan fo'r galon yn chwyddedig drwy falchder y bydd yr holl ddyn yn agos i ddinistr. Heb law hyn yr yspryd glan a
Diha. 15. 25. ddywed. *Yr Arglwydd a ddiwreiddia dŷ y beilchion.* A *Job* a ddywed am y cyfryw
Job. 20. 26. ddynion. *Tân heb ei chwythu ai hyssa hwynt.* Mi a dybygwn wrth hyn pe bai ynom gymmaint a gwreichionen o rás, y gallai yr ymadroddion erchyll hyn, a ddywaid yr yspryd glan, ein darostwng, a thynnu i lawr ein balchder: yn enwedig gan fod yr Scrythyrau yn testiolaethu fod duw yn gwrthladd y beilchion, ac yn ymosod yn bwrpassol iw herbyn: Ac am hynny gwae hwynt-hwy. Canys os duw a ymddyru yn eu herbyn, pwy a ddichon ei attal ef? yr hwn a wna beth bynnag a fynno.

*Phila.* Eithr dywedwch i mi, attolwg, a chwithau yn ymmadrodd yn erbyn balchder, pa fath falchder yr ydych chwi yn ei feddwl?

*Theol.* Yr wyf fi yn deall hyn am bob

balchder;

balchder ; yn gystal balchder y galon oddimewn, ar hwn sydd yn tarddu iw weled yn wynebau dynion oddiallan: sef yr hwn sydd yn ymddangos yn eglur yn eu geiriau au gweithredoedd.

*Phila.* A ydych chwi yn meddwl hyn hefyd a'm falchder dynion o'u doniau ?

*Theol.* Ydwyf yn wir. Canys nid oes yn y byd falchder gwaeth, na mwy peryglus na hwnnw, Gochelwch (medd vn) rhag balchder yspyrydol, sef balchio o'n dysc, o'n synwyr, o'n gwybodaeth, o'n darllain, scrifennu, pregethu, gweddio, o'n duwioldeb, gwroldeb, cryfder neu gyfoeth: o'n goruwchafiaeth, bonedd, glendid, neu awdurdod. Canys ni roes duw y cyfryw ddoniau i ddynion i wneuthur marsiandiaeth o honynt, iw heulo allan iw gweled er mwyn ceisio oddiwrthynt wâg ogoniant, a chanmoliaeth gan ddynion, drwy yspeilio duw o'i anrhydedd, a honni iddynt eu hunain drwy wâg-fost, y peth sydd ddyledus i dduw, sef clôd am ei ddoniau. Eithr ar fwriad ac amcan arall y rhoes efe ei ddoniau: sef i'w ogoniant ef, ac er llesâd i eraill (mewn swydd eglwysig, neu lywodraeth gwlâd) yn enwedig y rhai nesaf o berthynas i ni.

*Phila.* Etto nyni â welwn yn aml fod y rhai mwyaf eu doniau yn fwyaf eu balchder.

*Theol.* Gwir iawn: oblegid y brethyn rhywioccaf a gymmer a mliw yn gyntaf. Ac megis y bydd pryfed yn magu yn y pren rhywiog tyner yn gynt nac yn y caled, a'r ceingciog: ac megis y maga y gwyfyn yn y gwlân rhywiog main, yn hytrach nac yn y garw: felly y mae balcher, a gwâg ogoniant yn magu yn gynt mewn rhyw ddyn rhagorol, ac odiaeth ym mhob math ar wybodaeth a rhinweddau da, nac mewn eraill gwaelach eu doniau a'u rhoddion. Ac o hynny y dywedir, mai o ludw pob rhinweddau da y mae balchder yn tarddu allan. Canys balchio a wna dynion o herwydd eu bod yn ddoethion, yn ddyfcedig, yn dduwiol, yn ddioddefgar, yn oftyngedig, &c. Cymmwys gan hynny y cyffelybir balchder i'r blagur furion a darddant allan o foncyff y pren afalau pereiddiaf. Ac o ddywedyd gwir, dymma vn o'r peirian- nau rhyfel, a'r arfau perycclaf a gymmer y cythraul yn llaw yn olaf i orchfygu gwir blant duw. Nid amgen, megis eu chwythu hwynt i fynu a balchder fel a phowdr-gwn. Canys megis y digwydda wrth warchau rhyw ddalfa gadarn-gref, pan fetho ei hynnill drwy daro arni, a faethu atti; y dychymmig olaf fydd cleddio tani ai chwythu i fynu a gwn-powdr: felly pan fetho gan Satan orchfygu y rhai rhagorol ym mhlith gweifion duw, ei ddichell olaf ef

fydd

fydd eu chwythu hwynt i fynu a balchder megis a gwn-powdr.

*Phila*. Myfi a welaf mai grâs enwedigol oddiwrth dduw mewn gwŷr o ddoniau rhagorol yw bod yn ostyngedig o galon: Ac odid o cheir ym mhlîth mil or rhai a ragorant mewn doniau, oddieithr ychydig, ie prin vn yn rhagori mewn gostyngeiddrwydd; A pha amlaf fyddo ei rinweddau da, mwyaf or cwbl fydd ei ostyngeiddrwydd yn byw; nid drwy ddiystyru eraill, ond tybied o honynt yn well nac o honaw ei hun. Canys mynych y digwydda fod doniau, a rhoddion duw yn ein gwneuthur ni yn waeth, o herwydd nad ydym yn eu trîn hwynt yn iawn: Ac o herwydd eu bod yn magu ynom lawer o farw-gig chwyddedig: y cyfryw ac fydd raid beunydd a rhyw fugneli llym ei yssu ymmaith. Ac o hyn y mae duw yn dangos ffafor, a thrugaredd ragorol i'r hwn a dynno efe i lawr i fod yn ostyngedig drwy ryw flinder, a gwendid. Canys oni bai hynny, diau y gorchfygid ni yn hollawl gan y cnawd coeg-falch.

*Theol*. Gwir a ddywedasoch; Canys y mae'r Apostol yn cyfaddef am dano ei hûn, ei demptio ef, ai drallodi ffordd honno, a bod yn agos iddo a thra-ymdderchafu tros fesur o herwydd godidawgrwydd ei ddatcuddiedigaethau: ono bai ddanfon o dduw iddo o'i ddirfawr drugaredd, fwm- 2 Cor. 12. 7.

 bwl

bwl yn y cnawd iw oeri, ac iw attal (sef cennad Satan) â'r hwn yr iachaodd yr Arglwydd ef o'i falchder. Ac felly y mae efe yn iachau llawer o honom ninnau oddiwrth ein balchder drwy ein taflu i Satan, a'n gadael arnom ein hunain, a'n rhoddi i synu i wneuthur rhyw bechod anguriol, megis syrthio bendramwnwgl a thorri ein gyddfau. Ar cwbl oll er mwyn ein darostwng, ein gwârhau, a thynnu i lawr ein balchder: o'r hwn y mae efe yn gweled fod ein calonnau wedi clafychu. Gan hynny da yw i ni ein darostwng, yn amlder doniau, a rhadau duw, rhag i ni falchio o'r pethau sy gennym, neu o'r pethau a wnaethom. Canys gwell yw or ddau ymostwng mewn pechod, na balchio o dduwioldeb.

*Phila.* Yn hyn yr ymddengys doethineb a thrugaredd dduw yn ddiandlawd: sef ei fod efe mor rasson yn tynnu daioni allan o ddrygioni, ac yn troi ein blinderau ni, ein gwendid, a'n cwympiau iw anrhydedd ei hun, a llesâd i ninnau.

*Theol.* Digon gwir yw hynny. Canys megis o gîg gwiber y gwneir meddiginiaeth ragorol i iachau y sawl a frather gan wiber: ac megis y mae y pysygwr ar naill wenwyn yn gyrru allan y llall: felly y mae duw yn ôl ei ryfeddol ddoethineb, â'r gwendid sydd yn aros ynom wedi ein hail-geni,

yn

yn iachau heintiau eraill mwy peryglus, sef balchder, gwâg-ogoniant, a rhyfig. Bendigedig fyddo ei enw ef yn dragywydd; yr hwn mor drugarog sy'n peri i bob peth gydweithio ir goreu er daioni i'w bobl ef, am ba rai yn bennaf y deellir y pethau hyn.

*Phila.* Onid oes dim achos i wŷr a chanddynt ddoniau rhagorol, i ymorfoleddu dim yn eu doniau?

*Theol.* Nac oes ddim. Oblegid yr Apostol a ddywaid: *pwy a'th neillduodd di? Beth hefyd sydd gennit ar nis derbyniaist, ac os derbyniaist, paham yr wyt ti yn ymorfoleddu megis pe nas derbyniasit?* lle y mae'r Apostol yn dangos yn eglur, na ddylei neb fod yn falch o'r doniau a roes duw iddo, o herwydd nad ydynt eiddo ef: Nid oes iddo ond cynnwysiad iw trîn, ac iw harfer. Os benthyccia dyn gan arall ddillad gwychion, sef gown o sidan, a phais o Satyn, cadwyn aur, a chlôs melfed: ac a ymliongcci yn y rhai hynny allan ar osteg, megis pe baent yn eiddo ei hun: Oni thybiem ni yr haeddai hwnnw chwerthin am ei ben, megis dyn ffôl? felly y dylid cyfrif yn ffyliaid y rhai a falchiant o'r doniau da a roes duw iddynt tros amser, y rhai nid yw eiddynt eu hunain. Am hyn y dywed y Prophwyd *Jeremias*: *Fel hyn y*

1 Cor. 4. 7.

*dywed yr Arglwydd : nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb, ac nac ym-ffrostied y cryf yn ei gryfder : ac nac ymffrostied y cyfoethog yn ei gyfoeth ; eithr y neb a ymffrostio ymffrostied am hyn, ei fod yn deall, ac yn fy adnabod i.*

Jere. 9. 24.

Theocrit. I'r ystyriaeth hyn y dywed y Poet digrêd : *Ni ddichon neb ddiangc rhag cospedigaeth am falchder, am hynny na falchîed neb er ei lwyddiant.*

*Phila.* Etto rhyfedd yw gweled falched, fured, hoiwed, goeced, a phen-vched yw llawer o herwydd eu doniau, au campau da: yn tybied eu bod cysuwch ar cymmylau, ac nad yw y ddaiar yn eu cynnal: Tybied y maent eu bod yn Angelion bychain, neu yn rhyw fâch a'r greaduriaid rhyfeddol. Diystyru a wnant a dirmygu pawb eraill, y rhai nid oes ganddynt y cyfryw ddoniau. Edrych arnynt a wnant yn ddiystur, fel llew ar lygoden, neu frenin ar gardottyn.

*Theol.* O ludw balch, ô fwyd-pryfed vchel-fryd : pe gosodent eu calonnau o flaen duw : a'u cydwybodau, au meddyliau au nwydau iw barnu wrth ei gyfraith ef: hynny a'i hoerei hwynt, ac a'i gostyngei yn ddigon issel : yna y caent weled fod eu diffygion, a'u amherffeithrwydd yn gymmaint, ac na byddei iddynt mwy achos i ymffrostio, nac i'r Æthiopiad o'i wnder, am fod ei ddannedd yn wynnion. Yr yspryd glân sydd yn torri ein cribau ni, ac yn gostwng balchder

balchder ein cnawd; pan yw yn dywedyd.' *Mor fychan yw'r peth y mae dyn yn ei glywed, neu yn ei wybod a'm dduw.* Job. 26. 14.

*Phila.* Awn rhagom, attolwg, i dreuthu am y balcher hynod a diwin sydd yn dwyn rhwysc yn y byd. Ac yn gyntaf dim dywedwch i mi, beth a bybiwch chwi am falchder mewn dillad?

*Theol.* Tybied yr wyfi fod hynny yn oferedd tu hwnt i bob oferedd: ac yn ffolineb tu hwnt i bob ffoledd. Oblegid balchio o ddillad fyddei megis pe balchiei lleidr o'i gebystr, neu gardottyn oi glyttiau, neu blentyn o'i frithni, neu ddyn ffôl o'i degan.

*Phila.* Er hynny, ni a welwn mor feilchion yw llawer (yn enwedig gwragedd a merched) o'r cyfryw deganau. Canys darfyddo iddynt dreulio trauan y diwrnod yn ymdrwssio, ac yn ymdacclu: yn ymbingcio, ac yn ymbinio, yn ymfiongci ac yn ymgymmwyso, yn ymwisco, ac yn ymlassio: yn ymhoiwi ac yn ymloiwi, ac yn ymwychu yn y modd manylaf; yna y deuant allan i'r heolydd a'u siop pedler ar eu cefnau, a'u corŷnau yn dra vchel, gan eu tybied eu hunain yn angelesau bychain, neu yn bethau amgenach na merched eraill. O hyn y digwydd eu bod yn ymchwyddo o falchder, ac yn barod i dorri ar eu traws wrth gerdded yr heolydd. Ac yn wir fe ellir tybied

fod

fod y cerrig yn yr heolydd, a'r* coed yn y tai yn dychrynu, ac yn rhyfeddu weled eu hansuttiol, an hanfeidrol falchder. Canys cyffelybus yw nad ydynt ond swpp o falchder, ac o falchder y gwnaed hwynt, ac nad oes ynddynt ddim ond balchder, balchder.

*Theol.* Yr ydych chwi yn frŵd yn yr achosion hyn.

Asun. *Yn wir Syr, yr wyf finnau yn tybied yn well o honaw ef. Canys ni bu'r byd erioed mor llawn o falchder, ac y mae yn y dyddiau hyn.*

*Theol.* Pŵy a ddichon ymattal rhag dywedyd yn erbyn balchder yr oes hon? Pa achos sydd i gîg a gwaed, i fwyd pryfed, llŵch a lludw, i bridd a domm ymhoiwi mewn brattiau gwychion, yngolwg Duw, ac Angelion, a dynion? Canys fe ddaw yr amser pan gladder hwynt, a'u holl wychder mewn beddrod. Je fel y dywed *Job:*
Job. 17. 13. 14. *Pan fyddo y bedd yn dŷ iddynt, a phan gyweiriant eu gwelu mewn tywyllwch: Pan ddywedant wrth lygredigaeth, ti wyt fy nhâd, ac wrth y pryf, ti wyt fy mam a'm chwaer.* Pa lesâd a wna iddynt y pryd hynny, eu bod gynt yn ymrwfflio mewn pob gwychder, pan orfyddo yn ddisymmwth descyn i ddeffiruw? Pa lesâd a wnaeth i'r gŵr goludog ymddilladu a gwiscoedd gwerthfawr a chymmeryd ei fyd yn ddanteithiol, ac yn foethus beunydd, pan gladdwyd ei

gorph

gorph ef yn y bedd, a'i enaid yn nhân vffern ?

Aſune. *Beth a ddywedwch chwi am y rwffiau mawrion y rhai a gynhelir i fynu ag attegion, ac a rebattôs megis a phyſt ac a chledr ?*

*Theol.* Beth a ddwedaf am danynt ; ond duw a doſturio wrthym. Canys y cyfryw bethau ſy'n tynnu i lawr lîd, a dial duw arnom oll. Megis y dywed yr Apoſtol. *O achos y pethau hyn y daw digofaint duw ar blant yr anufydd-dod.* Ac yn wir ddigelwydd, y mae i ni achos i ofni y dŵg duw ddialedd arnom am ein ffiaidd falchder. Col. 3.6.

Aſune. *Beth a ddywedwch am y rwffiau tri-phlyg, a phedwar-plyg, y rhai â arferir yn y dyddiau hyn yn ſathredig ? Ac am y ffardingal gwmpaſſog, y cudynau lleiſion, y topynnau, y crych-wallt, ar holl arfer newydd a ddychymmygir, ac a adnewyddir beunydd?*

*Theol.* Hyn â ddywedaf, mai pell ydynt oddiwrth y ſymlrwydd, ar lledneiſrwydd a fu yn yr oeſoedd gynt: Nid adwaenai ein tadau ddim or fâth beth. Darllain yr ydym am *William Rufus*, a fu gynt yn frenin ar y deyrnas ymma, pan ddûg ei ſtafelludd atto bâr o hoſanau newydd, ofyn o honaw beth a goſtiaſent, attebodd yntef, mai triſwllt ; yno y Brenin yn ddigllon a orchymynnodd geiſio iddo bâr a goſtici farc.

Os

Os tybid yn y dyddiau hynny fod yn ormod i frenin dalu marc am bar o hosanau: beth a dybiwn ni am lawer o ddynion gwael yn y dyddiau hyn (heb na bod yn berchen tiroedd, na chwaith o alwedigaeth enwog) y rhai a dalant am vn pâr gymmaint ac a roddei y brenin am ddeubar, pan oeddid yn ei farnu ef yn afradlon. Eithr syweth, nyni a aethom tros derfyn gweddeidd-dra, a chymmesurdeb. Nid oes reswm arnom: Y pechod hwn sy rydrwm i'n gwlâd ni. Canys balchder pob cenedl, a ffoledd pob gwlâd a ddaeth i'n plith, pa fodd y dygwn y pethau hyn? Ac am yr arfer newydd, pa newyddaf, ffolaf o'r cwbl: Canys a'n harfer newydd yr ydym ni yn myned yn llwyr allan o bob arfer dda. Pe bai gynnifer gosgedd ar ein cyrph; ac sydd o amryw agwedd ar ein dillad, e fyddei gynnifer dull arnom ac sydd o rifedi bysedd, ar ein dwylo, a'n traed. Eithr oferddynion yn feibion ac yn ferched a ddangosant yn amlwg yscafned yw eu meddyliau pan ydynt mor chwannog i ddilyn y fath oferedd, a ffôl arfer.

Asune. *Ni bu'r byd yn dda byth er pan ddaeth y fâth Startsio, a rhwbio, ar dwyfronbren, ar whâl bons: Yr attegion a'r rebattōs, y peintio ar lliwio, a gwerthu pryd a gwêdd. Oblegid er pan ddaeth y pethau hyn y daeth cybydd-dod, trais a thwyll. Canys pa fodd*

*amgenach*

*amgenach y cynnelid balchder?* *A diau o fewn y dêg mlynedd ar hugain hyn, nad adwaenid, ac nachlywsid sôn am y pethau ymma. Gan hynny beth a ddywedwch chwi am golurowynebau, noethi dwyfronnau, lliwio y gwallt, gwisco y periwig, a gwallt gosod, a thopgalantau? A pheth a ddywedwch am y merched a wneir yn lluniaidd drwy gelfyddyd, y rhai fynnant fod yn well eu llûn nag y gwnaeth duw hwynt. Nid ydynt fodlon i waith ei ddwylo ef: hwy a fynnant wellhau ar hwnnw, drwy gael gwêdd arall, wynebau eraill, gwallt arall, escyrn eraill, dwyfronnau eraill, a boliau eraill amgenach nac a wnaeth duw iddynt.*

*Theol.* Hyn yr wyfi yn ei ddywedyd, fod i chwi, ac i minnau ac i bobl yr Arglwydd oll, achos mawr a chyfiawn i alaru, i wylo, ac i gwynfan am wneuthur y cyfryw ffieidd-dra yn *Israel. Afonydd o ddyfroedd a ddescynnasant o lygaid Dafydd am nad oedd dynion yn cadw cyfraith dduw.* Ac ofn aruthr a ddaeth arno ef oblegid yr annuwolion, y rhai oeddynt yn gadu cyfraith dduw. A *Jeremy* a ochneidiei yn ddirgel, gan ddymuno bod ei ben yn llawn dwfr a'i lygaid yn ffynnon o ddagrau o achos pechodau y bobl. *Nehemias* oedd yn galaru tros gamweddau y bobl. *Lot* gyfiawn oedd mewn gofid drwy anniwair ymarweddiad y *Sodomiaid.* Ac oni alarwn ninnau ddim am y pethau hyn? Oni ymofidiwn ddim am

Psal. 119. 135.

Jerem. 9. 1.

Nehem. 1. 4, 7.

2 Peter 2. 7.

falchder

falchder ein gwlâd? Oni ollyngwn ddim dagrau am y cyfryw ffieidd-dra erchyll? y fâth ni ddylid eu dioddef mewn gwlâd? Casedig ydynt oflaen Duw a dynion: oni bai fod Duw yn rhagorol ei ddioddefgarwch, ai hir-ymaros, y cythraul a'i cippiai hwynt ymmaith yn fyw, neu dân a brwmstan â syrthiei arnynt or nefoedd iw difa.

*Antil.* Yr ydych chwi yn rhy frŵd yn y matterion hyn am ddillad. Pryssurach ydych nac a fyddei raid.

Asune. *Y mae gennifi ddiolch iddo. Bendith dduw i'r galon. Mi ai caraf ef yn fwy tra yr adwaenwyf ef, am fod mor ddiragrith yn erbyn y cyfryw falchder cywilyddus, a ffiaidd. Ond cywilydd i ferched yn cyfaddeu gwir grefydd, eu gwneuthur eu hunain yn gyfryw eulynnod, a delwau, a pheunod ac y maent? Ac er hyn nid wyfi yn clywed fod nemmawr o'r pregethwyr yn dywedyd yn y pulpit yn erbyn hyn.*

*Antil.* Rhyfedd yw gennif eich bod chwi mor frŵd yn achosion dillad. Chwi â wyddoch yn ddigon da nad yw dillad ond pethau cyffredin, ac nad yw crefydd, a theyrnas Dduw yn sefyll yn y pethau hyn.

*Theol.* Mi a wnn yn dda nad yw dillad yn eu naturiaeth eu hunain ond pethau cyffredin, eithr nid peth cyffredin yw dillad

coeg,

coeg, anlladaidd, anlledneis, ac anhardd. Canys y mae pob cyfryw gamarfer yn tynnu ymmaith y cyffredinrhwydd, ac yn eu gwneuthur yn bechadurus, ac yn ddrygionus, oherwydd y moddion, sef y ffrwythau, ar digwyddiadau sy'n canlyn. Canys pe amgen, paham y bygythiai Duw drwy ei Brophwyd, yr ymwelai efe â phawb a wiscent wiscoedd dieithr, hynny yw, dull ac agwedd dillad gwledydd eraill, ie hyd yn oed y tywysogion, a phlant y brenin? Paham hefyd y dygei yr Arglwydd y fâth blâ ar bendefigesau beilchion, a'r mursennod hoiw yn *Jerusalem* am eu balchder a'u coegni mewn dillad, oni bai fod y cyfryw gamarfer yn ddrygionus? fel hyn y dywed yr Arglwydd drwy'r Prophwyd *Esau*, yn erbyn y meistresod gwychion hynny. *Oherwydd balchio o ferched Sion, a rhodio a gyddfau estynnedig, ac yn amneidio au llygaid, gan rodio, a rhygyngu y cerddent, ac y trystient au traed: ac am hynny y clafria yr Arglwydd gorynau merched Sion. Yr Arglwydd hefyd a ddinoetha eu gwarthle hwynt: Yn y dydd hwnnw y tynn yr Arglwydd addurn yr esgidiau, y rhwydau hefyd ar lloerawg wiscoedd, y perarogl, y breichledau, ar moledau: y penguwch ai llawdrau, a'r snodennau, ar dwyfronnegau: ar clust-dlysau, y modrwyau, ac addurn-wisc y trwyn: y gwiscoedd symmudliw, ar hefysau. Y misyrnau hefyd a'r pyrsau, y drychau hefyd ar lliain meinwych;* Zeph. 1. 8.

*meinwych : Y coewllau , ar gynau. A bydd yn lle peraroglau ddrewi : bydd hefyd yn lle gwregys rwygiad , ac yn lle iawn drefniad gwallt foelni : ac yn lle dwyfronneg gwregys o sach-liain : a lloscfa yn lle prydferthwch. Dy ddynion a syrthiant drwy'r cleddyf, a'th gadernid drwy ryfel : felly ei phyrth hi a osidiant, ac yn wâg yr eistedd hi a'r y ddaiar*, Esy. 3. 16.

Fel hyn, ni a welwn mor ofnadwy y mae Duw yn bygwth y gwragedd heini yn *Ierusalem* am eu balchder rhytygus, a ffiaidd. A hyn a ddichon fod yn ddrych ir murfennod beilchion yn ein dyddiau ni, y rhai y mae achos iddynt i ofni, y dŵg Duw ryw farnedigaeth drom arnynt, megis y dûg efe gynt ar ferched *Ierusalem*. Canys eu pechodau hwynt yn hyn o beth ydynt mor ffiaidd, a chymmaint ac oedd yr eidd merched *Sion*. Ar vn Duw yw efe yr awr hon, ac ydoedd y pryd hynny i gospi balchder.

*Antil.* Na cheisiwch mo'ch rhuad, a'ch dadwrdd ynghylch yr achosion hyn am ddillad. Canys y mae yn rhaid i ni wneuthur, fel y gwnelo eraill : a chanlyn yr arfer, ac onidê, ni wneir cyfrif o honom.

*Theol.* Os chwi nis canlynwch hwynt, e wneir mwy cyfrif o honoch gyd â Duw, ai Angelion, ai seintiau, a phob dynion da. Ac am bawb eraill, os chwi a wnewch

fwy

swy cyfrifo honynt nac or rhain, dyna arwydd pa fath ydych.

*Antil.* Gedwch i hynny fod: etto er hyn ei gyd, dywedwch chwi a fynnoch, yn y galon y mae balchder, ac nid yn y dillad. Canys fe ddichon dyn fod yn falch o dillad cymmedrol, megis o ddillad gwychion. Ac y mae rhai cyn falched o'u colerau llyfnion, ac ou rwffiau byrrion yn-plŷg, ac ydynt eraill o'u rwffiau mawrion,

*Theol.* Ynfyd yr ydych chwi yn siarad: Pa fodd y gwyddoch chwi hynny? A fedrwch chwi farnu calonnau, a meddyliau dynion? Pan fyddo dillad meibion, a merched yn sobr, yn weddaidd, yn lednais, ac yn Gristianogol, a ellwch chwi ddywedyd eu bod hwy yn feilchion o'r cyfryw ddillad? Pell tros ben yw eich ergyd chwi, gymmeryd arnoch farnu'r galon. Chwi a ddylych farnu mewn cariad am y rhai a ymwiscant yn sobr, ac yn weddaidd, fod eu calonnau yn gyffelyb iw gwisciad. Ond am danoch chwi, myfi a allwn yn hytrach dybied fod eich calon yn ofer, yn yscafn, ac yn ynfyd, o herwydd bod eich dillad hoiw yn arwydd eglur o hynny: A bod fel y dywed y Prophwyd, dull eich wynebau yn testiolaethu i'ch erbyn, a chwithau hefyd fel *Sodoma* yn mynegu eich pechodau, ac heb eu celu, Esay. 3. 9.

*Phila*

*Phila.* Gosodwch chwi ar lawr, adolwyn, ryw drefn am ddillad, allan or Scrythyrau.

*Theol.* Gosodwyf fi a fynnwyf, y rhan fwyaf yn feibion, ac yn ferched a wnant yr hyn a fynnont hwythau. Canys y mae lle i dybied, fod llawer yn yr oes hon, wedi rhoi diofryd dilyn Duw, a'i air, a phob daioni. Oblegid y maent wedi dyfod cyn belled a hyn, dyweded Duw a fynno, hwy a wnant y peth a fynnont hwythau. Canys fel y dywed y *Prophwyd*: *Hwy a wnaethant gyfammod ag uffern, ac a'r bedd y gwnaethant gyngrair.* Ac yr wyfi yn tybied pe descynnei Duw ei hun i lawr or nefoedd, a chynghori meibion a merched i roddi heibio eu gwagedd mewn dillad, etto y canlynent eu harfer, er gwaethaf Duw, iw gythruddo ef ym mhellach. Oblegid rhoesant gymmaint ferch ar y peth, a chymmaint difyrrwch ynddo, ac na fynnant amgen, na chadw eu harfer, pe rhôn a bod dynion, ac Angelion, ar byd oll yn dywedyd y gwrthwyneb, Je y peth fydd fwy pe gorfyddei iddynt fyned i ddiafol yn fyw gyd a'r peth. Ac am hynny gwaith ofer yw pregethu, neu fcrifennu, neu ddywedyd yn eu herbyn. Gwaith cyffelyb i aredig y môr, neu guro wrth ddrŵs gŵr byddar, canys nid oes obaith o'u gwellhâd. Hyn yn vnig fydd i ni iw gael am ein poen, sef fod y

Esay. 28. 15.

byd

byd wedi ei argyoeddi, ai farnu am be-
chod. Ar pethau hyn fydd dŷſt yn eu
herbyn yn y dydd diwaethaf; fel na a-
llant ddywedyd amgen, na chawſant
rybudd têg, ac na bu prophwyd yn eu plith.

*Phila.* Etto er hyn ei gyd, goſodwch
ar lawr ryw drefn a rheol allan o air Duw,
ynghylch dillad. Canys er bod rhai yn
ddrŵg, ac yn afreolus yn y pethau hyn:
etto diammeu yw, fod eraill ar feddwl da
yn gwneuthur cydwybod o fyw yn ôl rheol
gair Duw.

*Theol.* Er mwyn y rhai ſy ar feddwl da,
myfi a oſodaf ger bron beth cyfarwyddyd
iddynt, S. *Paul* a fynnei i wragedd ym-
wiſco mewn dillad gweddol, gyd â lledne- 1 Tim.
iſrwydd, a chymmeſurdeb, nid a gwallt ple- 2. 9.
thedig, neu aur, neu gemmau, neu wiſc
werthfawr, eithr megis y gweddei i wrag-
edd yn addo duwioldeb, a gweithredoedd
da. St. *Peter* hefyd ſydd yn goſod a'r
lawr yr vn fath reol, Canys efe a ddywed
wrth grybwyll am wragedd Chriſtianog-
aidd, ac yn cyfaddef crefydd dda, y dylei y
cyfryw rai fod a'u trwſſiad, nid oddiallan
ſef yn ſefyll ar wychder y corph; *Megis
plethiadau gwallt, ac amgylch oſodiad aur,
ar cyffelyb; ond ar harddwch oddimewn,
fel y byddo dirgel ddyn y galon mewn
anllygredigaeth yſpryd addfwyn a llon-
ydd, yr hwn ſydd ger bron Duw*

*yn*

*yn werthfawr. Canys felly gynt (medd efe) yr ymdrwssiei'r gwragedd sanctaidd, y rhai oeddynt yn gobeithio ar dduw, megis Sara, Rebecca, Rachel*, ar cyffelyb henaf-wragedd llednais, 1 *Pet*. 3.3.

*Phila.* Ar ba beth yn bennaf ŷ mae'r trwssiad hwn oddimewn yn sefyll?

*Theol.* Ar bedwar peth, y rhai a osodwyd ar lawr yn y lleoedd a henwyd or blaen: sef lledneisrwydd, cymmedroledd, yspryd llonydd, ac yspryd addfwyn.

*Phila.* Dymma wiscoedd gwychion yn siccr. Mi a synnwn pe gwiscai bawb or gwragedd y rhai hyn am danynt heb eu diosc vn amser, ond eu gwisco beunydd. Canys y rhain ydynt well o'u gwisco, er bod gwiscoedd eraill yn waeth.

*Theol.* Beth Ped ymdrwsiei gwragedd oddimewn a'r rhinweddau vchod? Hwy a fyddent yn lle tlysau o aur, a pherlau. Canys y gwragedd a ofnant yr Arglwydd, a ganmolir, Dihar. 31.30.

*Phila.* Moeswch glywed attolwg Syr, eich barn chwi am wiscoedd y corph.

*Theol.* Hyn yw'r cwbl a fedrafi ei ddywedyd am y matter ymma: y dylei ein gwisciad ni fod, fel y dywed yr Apostol yn weddaidd, yn drefnus, yn hardd; ac nid yn yscafn, yn anlladaidd, yn anwladaidd, ac yn dramgwyddus.

*Phila.* Pa fodd y bernwch chwi beth fydd

ydd weddaidd, trefnus a hardd? Canys fe ddywaid pob mâb, a phob merch fod eu dillad, yn weddaidd, ac yn drefnus, er hoiwed, er gwched, er ofered fyddont.

*Theol.* Yn hyn o beth, nyni a ddylem ddilyn fiamplau y gwŷr a'r gwragedd Duwiolaf, fynhwyrolaf, fobraf, a lledneifiaf. Pwy a fedr yn well na'r cyffelyb, farnu beth fydd hardd, a gweddaidd, a chymmesur?

*Phila.* Eithr nyni a welwn rai o'r rhai goreu wedi llygru peth arnynt, a myned dros y terfynau ynghylch dillad.

*Theol.* Gwaethaf ôll. Eithr fywaeth, ni a welwn fod rhwyfc yr amfer, a nerth y ffrŵd cyn gryfed a bod yn dwyn gyd â hwynt beth bynnag nid yw wedi ei fefydlu, ai wreiddio yn ddyfn, ac yn gadarn. Ac ymbell rai duwiol (er nad yw eu calonnau yn tueddu tu ag at y pethau hyn) a ddygir ymmaith gyd â nerth y gwynt, a'r llanw; Y rhai er nas gellir yn hydda na dadleu yn eu cweryl, nac efcufodi eu cyflwr, etto fe ddylid tofturio wrthynt, ac ymofidio troftynt.

*Phila.* A oes gennych-chwi ddim cyfarwyddyd ychwaneg ynghylch yr achos ymma?

*Theol.* Oes vn peth ychwaneg, Sef y dylei ddillad pob dyn fod wrth ei rádd, a'i fê, ai alwedigaeth. Canys nid yw hardd

ar y naill ddyn, y peth ſydd hardd ar y llall: Nid cymmwys i'r tlawd y peth a weddei i'r cyfoethog. Ac anhardd yw ar ddynion gwael, y peth ſydd drefnus, a chan-moladwy ar bendefigion, a phennaethiaid.

*Phila.* Wrth hyn, yr ydych chwi yn tybied fod yn gyfreithlon i frenhinoedd, tywyſogion, a gwŷr mawrion wiſco perlau ac aur, ac arian, a melfed, ar cyffelyb?

*Theol.* Diammeu fod yn gyfreithlon, ac yn rhŷdd i'r cyffelyb, mewn môdd, a meſur gweddaidd, wiſco y pethau drutaf, a gwerthfawroccaf ar y ddaiar: A hynny er mwyn goſod allan mawredd, a rhwyſc, a gogoniant eu galwedigaethau. Ac am hynny y cyfryw bethau ydynt arnynt hwy yn hardd, ac yn weddaidd.

*Phila.* Eithr yn y dyddiau hyn, nid oes nemmawr yn ymgadw o fewn eu terfynau: Nid oes nemmawr yn cydnabod eu lleoedd, ond cilio yn ôl, a gadael eu meſurau.

*Theol.* Gwir iawn. Oblegid yn y dyddiau hyn merched boneddigion gwael, ie a boneddigion o'u gwneuthuriad eu hunain, a rwffliant ac a ſwaggriant yn eu dillad megis Cowntesau, neu Arglwyddeſau anrhydeddus. Pobl gyffredin y wlâd a ymoſodant allan fel gwŷr llŷs y brenin, a boneddigion da; gan ddywedyd yn eu calonnau, Ffei or ſymlrwydd yma: ni

ſynnwn

synnwn ni mor byd fel y bu ; Ac yr aw'r hon y gwelir yn wir yr hên ddihareb : *pob Coeg-was a fyn fod yn foneddig* : *ar forwyn yn gystal ai meistres.* Fel la ellir heddyw adnabod wrth eu dillad ddim rhagoriaeth rhwng y llaw-forwyn a'i Harglwyddes. Ac fel hyn chwi a welwch fod pob peth allan o drefn o ran dull, ac agwedd dillad.

*Phila.* A oes dim ychwaneg i'w ddywedyd yn yr achos hwn?

*Theol.* Oes un peth etto yn ôl iw ystyried ynghylch dillad, sef bod dillad pawb yn ôl eu gallu: Canys peth gresynol yw ystyried fod meibion, a merched yn eu dillad ym mhell oddiar eu gallu. A mwy tosturus yw gweled mor wael a chywilyddus fydd y dyfais, ar ffordd, a gymmerant i geisio cadachau gwychion: mor awyddus, a chwannog y rhônt eu brŷd ar hynny.

*Phila.* Chwi a dreiglasoch ddigon ar y gareg hon, ac a ryngasoch ein bodd ni yn helaeth yn eich ymadrod am falchder, yr hwn yw'r arwydd cyntaf o ddamnedigaeth. Ewch rhagoch bellach at yr ail arwydd, yr hwn yw putteindra; Ac eglurwch i ni allan o'r Scrythyrau y peryglon sy'n dyfod oddiwrtho?

*Theol.* *Salomon* yn ei ddiharebion a ddywed, *Mai ffôs ddyfn yw genau gwragedd dieithr, ac mai y neb y byddo yr Arglwydd yn ddig wrtho a syrth iddi.* *Lle y mae efe yn dangos yn* Diha. 22. 14.

*amlwg fod y rhai y mae'r Arglwydd yn eu ffieiddio, ac yn ddigllon* wrthynt yn ymroi i ddilyn y bai anafus hwn. Ac mewn man arall dywed, *Ffôs ddyfn yw puttain, a phydew cyfing yw'r ddieithr.* Gan ddwyn ar ddeall wrth hyn, os digwydda unwaith i ddyn syrthio mewn serch â phuttain, y bydd mor anhawdd iddo ddiangc yn ddichlin oddiwrthi, ac i ddyn â syrthiai mewn ffôs ddyfn, a chyfing, lle ni allai ond prin ymdrof, ym lusco allan o honi. Ar vn *Salomon* yn llyfr y Pregethwr â ddyry reswm am hynny : *O herwydd ei bod hi megis rhwydau, a maglau, a rhaffau, a rhwymau, yn y rhai os delir dyn vnwaith, y mae efe yn ddigon caeth, fel na ddêl allan:* Cefais (medd efe) beth chwerwach

Preg. 7. 26. nac angeu, gwraig ynghalon yr hon y mae rhwydau, a maglau, a rhwymau yn ei dwylaw, y neb sydd dda gan dduw a waredir oddiwrthi hi, ond hi a ddeil bechadur.

Nyni á welwn yn eglur wrth hyn mor draingwyddus, ac mor beryglus yw'r sawl yr ymadawodd Duw â hwynt, ac a roddodd i fyny i odineb a phutteindra : Ac am hynny dywedir : *Na chwennych ei phryd yn dy*

Dihar. 6. 25. *galon, ac na âd ti iddi dy ddal ag amrantau ei llygaid. Oblegid y fenyw butteinig y daw gwr i gardotta tammaid o fara, a gwraig gwr arall a hela yn ol yr enaid gwerthfawr.* Ac eilchwel y dywed. *Gwefusau y ddieithr a ddiferant fel dil mêl, a'i genau yn llyfnach nac*

olew :

*olew: ond ei diwedd hi â fydd chwerw fel y* Dihar.
*wermod, ac yn llym fel cleddyf daufiniog: ei* 3,4.
*thraed hi a ddescynnant i angeu, a'i cherddediad
â sang uffern.* Yr holl ymadroddion hyn
or eiddo yr yspryd glân a yspysant yn eglur,
mor ofnadwy yw godinebu, a syrthio yn
nwylaw putteiniaid. Ac am hynny y dy-
wed *Job* am yr annuwolion: *Eu henaid* Job.
*hwy a fydd marw mewn ieuengtid, au bywyd* 14.
*gyd a'r putteinwyr.*

*Phila.* Odiaeth y dangosasoch allan o
lyfr Duw, berigl godineb, a phutteindra.
A gresyn yw bod dynion yr oes hon yn
gwneuthur cyn lleied cyfrif or pechod hwn,
ac ynteu mor gyffredin. Je gresyn yw hwy.
peth sydd ddolur yn fynghalon ei adrodd,
fod rhai yn ei gynnal, ac yn byw wrtho.

*Theol.* I'r cyfryw râi yn feibion, ac yn
ferched y mae achos i ofni dialeddus law
dduw: Canys yr Arglwydd â ddywed drwy
ei Brophwyd: *Pan ddiwellais hwynt,
gwnaethant odineb, ac a heidiasant i dŷ y put-
tain. Oeddynt fel meirch porthianus yn boreu
godi, gweryrent bob vn ar wraig ei gymmydog.
Onid ymwelaf am y pethau hyn, medd yr
Arglwydd? oni ymddial fy enaid ar gyfryw
genedlaeth a hon?*

*Phila.* I'm tŷb i, oni bai fod dynion wedi
eu caledu yn aruthr yn eu pechodau, ac a
bâr arnynt, heb ymwrando a'u cyflwr, fe
barei y bygwth ofnadwy hwn oddiwrth

dduw nefol, iddynt ddychrynu, ac ofni.

*Theol.* Fe dybygei ddyn hynny: Eithr yr
awr hon y gallwn adgoffau hên gwynfan
y Prophwyd gynt. *Mi â ystyriais, ac a wran-
dewais, ni ddywedent yn iawn: Nid edibar-
haodd neb am ei anwiredd, gan ddywedyd, beth
a wneuthym mi: pob vn oedd yn troi iw yrfa,
megis march yn rhuthro i'r frwydr.* Jer. 8 6.

*Antile.* Pa raid y trŵst ymma? Ac wedi
ysn- hyn ei gyd, nid yw putteindra ond * nwyf
ieuengtid; ac ni â welwn nad oes neb heb ei
fai.

*Theol.* Anghrefyddol, ac annuwiol yr
ydych chwi yn siarad. A gyfrifwn ni y peth
r. hwnnw, ddim amgen ond nwyf ieuengtid,
Pr am yr hwn y tarawodd yr Arglwydd ei bobl
24 ei hûn, sef tair mil ar hugain o honynt yn yr
vn dydd? Ai yn nwyf ieuengtid y cymmer-
wn ni y peth, am yr hwn y bygythiodd Duw
m. Ddafydd, ei wâs ei hûn, nad ymadawei
o. cleddyf ai dŷ ef byth? Ai yn nwyf ieueng-
tid y cyfrifwn ni y peth am yr hwn y lladd-
wyd *Hemor, a Shechem*, y tad, ar mab, a lla-
34. wer eraill yn wŷr, ac yn wragedd ac yn
blant, gan *Simeon*, a *Leui*, meibion *Jacob*?
Awnawn ni ddim amgen ond nwyf ie-
m.4. vengtid or peth, am yr hwn y lladdodd yr
Arglwydd *Hophni*, a *Phinehes*, dau fab *Eli*
yr Offeiriad yn rhyfel y Philistiaid? A wn-
awn ni cyn lleied prîs or cyfryw aruthredd
angeuriol? Onid yw tofter angerddol y dia-
le-

leddau trymmion hynny yn dangos i ni mor ffiaidd yw'r pechod? Onid yw'r Apostol yn dywedyd. *Y pethau hyn â ddigwyddasant yn siampl iddynt hwy, ac a scrifenwyd yn rhybudd i ninnau ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd.* 1 Co. 10.1

Ac etto er hyn ei gyd, chwi a gymmerwch y peth yn yscafnder meddwl, ac ai cyfrifwch yn nwyfiant ievengtid: fel pe na bai Duw ond cellwair: Eithr na thwyller chwi, ni watworir Duw. Y rhai ni chynnyrfir yn awr wrth wrando, a fe-lir yn chwilfriw ryw ddydd wrth ddioddef: Ar sawl yn awr â alwant butteindra yn yscafnder meddwl a nwyfiant ievengtid, a vdant, ac a grygleisiant ac a floeddiant ac a waeddant, och, a gwae hwynt hwy erioed eu geni o'i herwydd.

*Antil.* O Syr, y mae yn rhaid i chwi gyd-ddwyn ag ievengtid: Chwi â wyddoch fod ievengtid yn llithrig, ac yn hawdd ei hudo. Ac darfyddo i chwi ddywedyd eich amcan, fe fyn ieuengtid ei helynt.

*Theol.* Etto nid yw Duw yn caniadhau dim mwy rhydd-did i ieuengtid, nac i henaint; eithr rhwymo y mae efe bawb fel ei gilydd, tan boen marwolaeth i vfyddhau iw orchymyn. Yr Apostol â ddywed, *Bydded y gwyr ieuaingc yn bwyllog.* *Dafydd* a ddywaid: P*a fodd y glanhâ llangc ei lwybr? wrth ymgadw yn ôl dy air di.* Y gŵr doeth a ddywaid. *Cofia dy greawdudd yn nydd ... dy ieuengtid.* Tit. Ps. 9

[..].12.1. *ieuengtid.* Ac a ddengys ym mhellach, oni
synnant amgen, na phorthi eu trachwan-
tau, a dilyn nwyfiant eu cnawd, yn y di-
wedd y dŵg Duw hwynt i'r farn, ac ai
[..]osa. * gwarhâ yn nhan vffern.

*Phila.* Etto ni a welwn fod dynion mor
chwannog i ddilyn gwyniau, melus-wedd, a
digrifwch pechod, dél a ddel: ac nad ofnant
ddim, nac afiechyd, na marwolaeth, nac v-
ffern, na damnedigaeth. Nid oes edrych
pa fyd sydd yn ôl iw gael, neu iw golli.
Ond prynu eu melusewedd, au trachwantau
a cholledigaeth eu eneidiau: ôch or fath
bwrcas, a gwae hwynt or fath ddigrifwch.

*Theol.* Bwyd melus a fyn saws chwerw:
a'r dim lleiaf o felus wedd a ddŵg ganddo
bwys o ofid. Y cyfryw ddynion melldigedig,
a gant yn y diwedd dalu yn hallt am eu di-
grifwch, a gwybod iw dialedd tragwyddol
beth yw cyffroi Duw, a phechu yn ei erbyn
ef yn ddi-rûs, ac a llaw vchel. Hwy a gânt
wybod o anfodd eu calonnau, fod dialedd
wedi ei ddarparu i'r drygionus, a bod Duw
a farna y ddaiar. Am hynny gwilied pawb
[..]r.13. arno ei hun mewn prýd. Canys *puttein-
wyr, a godineb-wyr â farna Duw.*

Ar Apostol a ddywed yn ddilachr: *Na
chaiff godinebwyr, na thorwyr priodas feddi-
[..]r. 6. annu teyrnas dduw. Na fydded gan hynny yn
ein mysc ni, vn putteinwr, neu aflân megis
12. Esau:* Eithr ymgadwn oddiwrth drach-
wantau

wantau y cnawd, y rhai-sy'n rhysela yn erbyn yr enaid. *A gwybydded pob vn pa fodd y meddianna ei lestr mewn sancteiddrwydd, ac anrhydedd, nid mewn gwyn trachwant megis y Cenedloedd y rhai nid adwaenant Dduw.* 1 Pet. 11. 1 Thes. 4. 4, 5.

Ymma moeswch i ni ystyried ymadrodd synhwyrol vn o'r hên dadau. Pechod tra bydder yn ei wneuthur, a bair beth digrifwch, eithr gwedi y gwneler, y byrr ddigrifwch a ddiflanna ymmaith, a hir dristwch a ddaw yn ei le ef. Ac na wrthodwn ymma ymadrodd gŵr cenedlig doeth. Gochel felus-wedd rhag ofn gofid. Yn ôl melus y daw chwerw: ac yn ôl llawenydd, tristwch. Chrisost. in Mat. Isocrat. ad Demon.

*Antil.* Etto er hyn ei gŷd, ni wnewch i mi goelio fod putteindra yn gymmaint pechod: yr ydych chwi yn ei wneuthur yn waeth nac ydyw.

*Theol.* Digon gwir. Canys chwychwi a'ch cyffelyb ni choeliwch ddim yn erbyn eich trachwantau, a'ch gwyniau cnawdol. Ac dyna'r achos yr ydych yn fyddar o'r naill glûst: am hynny mi a chwanega air neu ddau allan o air Duw, at yr hyn a ddywetpwyd. Y Brenin doeth â ddywaid, *Y neb â wnêl odineb â benyw a lygra ei enaid ei hun*, ac felly sy'n euog o'i farwolaeth ei hûn, yr hyn nid yw beth yscafn. Canys os digwydda i ddyn ymgrogi, neu ymfoddi, neu ryw fodd Dihar. 32.

arall fyrhau ei einioes; ein harfer ni yw dy-
wedyd am dano, fod bâr Duw arno, fod
llaw Dduw yn drom yn ei erbyn: gael o'r
cythraul wall arno. Y sŵn, a'r siarad am y
fâth drychineb, a gerdd tros y wlad y prŷd,
a'r lle y digwyddo. Y Crwner a eilw yng-
hyd gwêst ar ei gorph ef; a ferdyd a bassia
am dano. Pa faint hyttrach y dylei yr holl
fŷd ryfeddu am y peth hyn: sef fod dyn yn
difetha ei enaid ei hun, ac o wir lwyrfryd
ei galon yn ei anrheithio ei hun yn dragwy-
ddol. Yr yspryd glan a dywed, fod y put-
tein wr yn gwneuthur y fath beth a hynny,
sef o wirfodd ei galon yn ei ladd ei hûn. Ac
am hynny gwae ef erioed o'i eni. Canys y-
Pr. na y daw y Crwner mawr or nefoedd, (yr
6. hwn a gorona y neb a gorono) i eistedd ar-
no ryw ddydd, ac i roddi barn iw erbyn. Ac
megis y mae y godinebwr, yn pechu yn er-
byn ei enaid ei hun: felly y mae efe hefyd yn
Cor. 6. erbyn ei gorph, fel y tystia yr *Apostol*. Ac
8. yn erbyn ei fraint, a'i gyfoeth, fel y dywed
Job 31. y gŵr duwiol Job: *Godineb sy dân â yssa*
12. *oni anrheithio*, ac y diwreiddio yr holl ffrw-
yth. Y mae efe yn pechu hefyd yn erbyn ei
enw da, neu ei eirda a'i gymmeriad yn y byd.
Diha. 6. *Oblegid clais, a gwarth a gaiff efe, a'i gywilydd*
3. *ni ddileir*. A phechu y mae yn erbyn ei wraig,
yr hon sydd gymhares iddo, a gwraig ei gy-
fammod. A Duw a ddywed yn yr vn fan:
Mal. 2. 14 *ymgedwch yn eich yspryd, ac na fydded neb*
*anffy-*

*anffyddlon* i wraig ei ieuengtid. Yn ddiweddaf oll, pechu y mae yn erbyn ei blant, ai heppil: fel y dywed yr *Arglwydd* wrth *Dafydd:* O herwydd i ti fy nirmygu i a gwneuthur hyn: wele nid ymedu cleddyf a'th dŷ di byth, mi â gyfodaf ddrŵg i'th erbyn di, o'th dŷ dy hûn. Felly, i orphen y pwngc hwn nyni a welwn pa sawl briw anafus, ac archoll ffyrnig y mae dynion aflan yn eu gwneuthur ynddynt eu hunain, ac yn eu plant. Pwy, oddieithr ei fod yn ynfyd cynhwynol, a'i trafrathei ei hûn mewn cynnifer o fannau ar vnwaith? y mae y godinebwr, ai odineb ei hûn, yn gwneuthur yr holl archollion hyn ynddo ei hûn: *A* chant i vn na iacheir ef byth: ond y bydd marw gan waedu i farwolaeth. 2 Sam 12.10

Bellach chwi a welwch ddull, ac agwedd y pechod anguriol hwn: ac a wnawn ni gyfrif bychan o honaw? *A* ddywedwn ni nad yw efe ond nwyfiant, ac yscafnder ieuengtid? *A* golurwn ni beth mor ffiaidd, a geiriau hygoel? *A*r yspryd glân yn ei wneuthur yn fai erchyll, ac athrugar? oni arfwydwn ni y peth sydd yn tynnu i lawr ddigofaint Duw ar yr enaid, y corph, y cyfoeth, yr enw, y wraig, y plant: Gormod dallineb a chaledrwydd calon syddei hynny. Hên *Athro* er ystalm â roes farn i'n herbyn am gymmeryd y pechod hwn mor yscafn o beth: Godineb, medd efe, yw bâch

bâch y cythraul, a'r hwn y llûsc efe ddynion i ddestruw.

Basil in Epist. Un arall or hên Dadau a ddywed, Godineb sydd debig i ffwrn, yr hon glothineb yw ei * safn, balchder ei fflam, serthedd ei gwreichion, an-air ei mŵg, tlodi ei lludw, a gwradwydd ei diwedd. Mal hyn ni â welwn yn amlwg, er yscafned y cymmerwn ni y pechod hwn, fod y rhai â agorodd Duw eu llygaid ym mhôb oes wedi ei gondemnio ef, ai farnu yn bechod echryslon, a ffiaidd. Ie y Cenedloedd â gysodant i'n herbyn yn y farn, y rhai a lefarasant, ac a scrifennasant lawer yn erbyn y pechod aflan, ac anifeilaidd hwn.

*Genau.

*Phila.* Chwi a deimlasoch ddigon bellach, ar ddrwg gynneddfau putteindra, ac a noethasoch ei wrthvni yn daran helaeth, fel y dichon pawb ei ganfod yn amlwg, a'i ffieiddio. Os anturia neb (er hyn ei gyd) ei ddilyn, fe ellir galw hwnnw yn angenfil anferth heb obaith o honaw. Canys beth amgen yw ei helynt, ond megis estyn ei law yn safn y llew, a dal arth erbyn ei daint? A hawdd yw gwybod beth sy'n canlyn, a pheth sy iw ddisgwyl o hynny. Edryched pawb mewn pryd arnynt eu hunain, ac ar eu eneidiau fel yr attebont tan eu perigl yn nydd y farn ofnadwy, pan ddatcuddier dirgelion y calonnau. Ond yn awr, un peth sy'n ol: sef dangos o honoch pa fath yw march-wraidd, a phrif achosion godineb.

*Theol.*

*Theol.* Prif achosion putteindra ydynt bump. Y cyntaf yw ein llwgr naturiol ni. Canys rhithin, a had pob pechod sydd yn ein natur lygredig: a hwn yn anad un, yw'r pechod mwyaf cartrefol: fel y tystia yr Apostol Iago: Wedi i drachwant ymddwyn, escor ar bechod a wna, a phechod pan orphenner a escor ar farwolaeth. Jag.1.15.

Yr ail achos o butteindra yw digonoldeb o fara. Canys darfyddo i ddynion lenwi eu boliau, ac ymsechu o ddanteithion, gwin, a diod gadarn, gymmaint ac a anno yn eu crwyn; i ba beth y maent hwy y pryd hwnnw yn gymmwys? *Ac* am ba beth y moddyliant ond am butteindra ac aflendid. *Ac* am hyn da y dywedir: ymborth diandlawd, a danteidd-fwyd yw gweith-dŷ anlladrwydd. *Ar* Poet Cenedlig a fedrai ddywedyd, *Sine Cerere et Baccho friget Venus.* Prinhewch ar fwyd a diod, ac fe ocra serchowgrwydd. *Ac* ir perwyl ymma y dywed y Brenin Doeth, Am y rhai a ddeisyfiant win, a danteithion; *Eu llygaid hwy a edrych ar wragedd dieithr.* *Ac* am hynny ei gyngor ef i bawb yw, nad edrychant ar y gwin pan ymddangoso yn gôch, ac yn lliwys yn y cwppan, a phan fyddo yn gwreichioni, rhag y drŵg a ddichon digwyddo: hên *Athro* a ddywed i'r un ystyriaeth: y neb a lanwo ei fol o ddanteithion, ac er hynny a fynnei orchfygu yspryd godineb, a gyffelybir i ddyn.

Dihar. 23.31,33

Greg. Nazian.

ddyn yn ceisio diffoddi fflam o dân ag olew.

I ddibennu y pwngc hwn, er bod o ddynion yn arfer gweddio, gwrando, a darllain llawer, ac a'u bryd ar y pethau goreu; etto oni byddant gymmedrol yn eu lluniaeth, a sobr yn eu hymborth, trachwant a fydd blîn, ac aflonydd wrthynt.

Y trydydd achos o butteindra yw seguryd. Canys pan fyddo dynion yn segur, yn swrth, ac yn ddiog, heb ganddynt ddim iw wneuthur, yno y maent yn * agored i odineb, a hawdd gan chwant y cnawd ledratta arnynt. Historia-wyr a scrifennant fod y crangc yn chwannog i fwytta * oystres: ac oherwydd na ddichon eu agoryd hwynt, efe a ddisgwyl yr amser pryd yr ymagorant ir haul o'u gwaith eu hunain yn ôl yllanw: ac yno yr estyn efe ei spag i mewn, ac a dynn allan y pyscodyn: Felly Satan ynteu sydd yn disgwyl ei achlyssur, i geisio bwrw ynom wenwyn trachwant, a gwŷniau cnawdol, yn enwedig pan fyddom megis yn ymagoryd, ac yn ymroi i seguryd: Synhwyrol gan hynny y dywaid y Poet Groeg. *Seguryd lawer sydd yn magu trachwant.* A Phoet arall a ddywed.

* Hylithr.

* Lemwrch.

Hesiod.

Ovid.

*Quaeritur Ægistus quare sit factus adulter?*
*In promptu causa est, desidiosus erat.*

Beth a wnaeth Ægistus frenin

gynt

gynt yn odinebwr diwin?
Hawdd yw adrodd yr achlyssur,
Segur oedd heb ddim iw wneuthur.

A thrachefn:

*Otia si tollas periêre cupidinis arcus.*
Na fydd segur ddyn, o mynni
na wnêl maswedd niwed i ti.
Dod dy fryd ar orchwyl Duwiol,
hynny a ddiffydd chwantau cnawdol.

Pedwerydd achos godineb yw dillad anlladaidd, megis cerddor i ganu dawns i butteindra: eithr ynghylch hynny ni â glywsom ddigon or blaen.

Pummed achos putteindra yw gobeithio diange yn ddi-ddial. Oblegid y mae llawer wedi i satan ddallu eu llygaid a chaledu eu meddyliau yn tybied na elwir bŷth am danynt i roddi cyfrif am eu drygwaith. *Ac* o herwydd eu bod yn medru dallu llygaid dynion, a dwyn eu pechod ar gûdd megis tan gwmmwl, fel na wŷr y byd oddiwrtho, meddwl y maent fod pôb peth yn ddiogel, ac nad yw Duw yn eu canfod.

Am hynny y dywed *Iob.* *Llygaid y godinebwr sydd yn gwilied y cyfnos, gan ddywedyd, ni chaiff llygad fyngweled: Ac efe a esyd hûg ar ei wyneb.* Ac mewn man arall: *Pa fodd y gwyr Duw? a farn efe drwy dywyllwch?* Eithr yn wir ddigel- Job.24.15. Job.22.13.

gelwydd, er dirgeled, er cyfrwysed y cuddia y puttein-wr ei bechod: etto yr amser a ddaw pan ei datcuddier iw dragwyddol wradwydd ef: *Canys Duw â ddwg bob gweithred i'r farn, a phob peth dirgel, pa vn bynnag ai da, ai drwg: Canys gosododd ein anwiredd ger ei fron, a'n dirgel bechodau yngoleuni ei wyneb* Ac, *yr Arglwydd â oleua ddirgelion y tywyllwch, ac â eglura feddyliau y galon.* Am hynny y dywed *Job Ti amgwiliaist, ac ni'm glanhei oddiwrth fy anwiredd.*

reg. 12. 4. | al. 90. | Cor. 4. | ob. 10. 4.

*Phila.* Hyd ymma y dangosasoch achosion putteindra: Bellach dangoswch attolwg y feddiginiaeth sydd iddo, neu yr ymwared oddiwrtho.

*Theol.* Y mae chwêch o bethau nodedig yn erbyn godineb: y rhai a wnant lesad mawr, os arferir hwy yn ofalus. Sef y rhai hyn.

1. Prysurdeb mewn gwaith a gorchwyl.
2. Dirwest.
3. Cymmedroldeb.
4. Gweddi.
5. Gwarchau ar y synhwyrau.
6. Ymgadw rhag cyfeilliach merched, a phôb cyfryw achlysur.

*Phila.* Digon i chwi hyn am yr ail arwydd o ddamnedigaeth: bellach awn rhagom attolwg at y trydydd sef cybydddod. Ac fel y dangosasoch i ni ddull, ac agwedd

wedd ȳ ddau gyntaf, felly dinoethwch hwn hefyd, fel y gwelo pawb mor anferth yw'r anghenfil, ac y cymmeller hwynt iw gasau, ac iw ffieiddio ef.

*Theol.* Mi a ewyllysiwn wneuthur eich damuniad, eithr yn hyn o beth, nid yw bossibl i mi allu cyflawni hynny fel y mae'r achos yn gofyn ; oblegid ni ddichon calon ddirnad na thafod dreuthu mor ffiaidd yw'r bai anafus hwn : Canys Cybydd-dra yw'r ellyll gwrthunaf, ar cythraul anferthaf or lleill ei gyd. Ie hwn yw'r Belzebwb mawr. Ac am hynny ni allwn i yn fy myw ei bortreiadu ef yn ddigon hynod. Ond mi a wnaf fyngoreu ar ei ddiosc ef yn noethlwm fel yr adwaener tan ei liw, ai arwydd. Ac er bod dynion a meddyliau daiarol, ac wedi eu dallu o gybdd-dra yn tybied bod y treccyn hwn, yn hawddgar, yn brydferth, yn gyweithas ; ac am hynny a'u croesawant, ac a'u coleddant megis pe bai rhyw ddedwyddyd ynddo : etto darfyddo i mi ddangos iddynt ei wynepryd ef mewn drych eglur (sef cywir ddrych air Duw) gobeithio na roddant mwyach eu traserch arno, eithr y diflasant ef: myfi gan hynny a ddaliaf allan ger eu bron y drych hwn.

*S. Paul* fydd yn cyhoeddi aruthredd, a ffieidd-dra y pechod hwn, pan yw yn dywedyd. *Gwreiddin pob drwg yw ariangarwch.* 1 Tim 6. 10.
Ein Harglwydd Jesu Grist a ddyry i ni air

air amnaidi ymogelyd rhag cybydd-dod gan
Luc. 12. 15. ddywedyd: *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod.* Megis pe dywedasei: na chyffyrddwch ag ef, na ddeuwch yn agos atto: Anad ly cythraul yw, marwolaeth ddisymmwth, a gwenwyn yr enaid. Yr Apostol â dengys mor beryglus yw y pechod hwn gan ddywedyd.
Phil. 3. 19. *Diwedd y rhai oll yw destruw ——— y rhai sydd yn synnied pethau daiarol.* Gosoded pob cribddeiliwr bydawl y pethau hyn at ei galon, a synnied yn ddeallgar o honynt: rhag digwyddo iddo achos i ddywedyd ryw ddydd: oh na wybuasswn.

*Phila.* Attolwg Syr, yspyswch i ni wir naturiaeth cybydd-dod, a pha beth ydyw, fel y gallom ei adnabod ef.

*Theol.* Cybydd-dod yw chwant anghymmedrol i feddu.

*Phila.* Gôbeithio yr wyf nad ydych chwi yn meddwl fod cynnildeb, a chrynodeb, ac ysmonnaeth dda yn gybydd-dod.

*Theol.* Nac ydwyf ddim. Canys pethau gorchymynedig yw'r rheini: ac iw harfer mewn ofn Duw, ac a chydwybod dda.

*Phila.* Onid ydych chwi yn tybied fod yn gyfreithlon i ddynion wneuthur eu gorchwylion bydol: a bod yn ffyddlon, ac yn ddiwid yn eu galwedigaeth er mwyn * darparu iddynt eu hunain, ac iw teulu eu hangenrheidiau?

* *rhaglu-niaethu.*

*Theol.*

*Theol.* Ydwyf yn ddiau. Ac yn enwedig os gwnant y pethau hyn drwy alw ar Dduw am fendith ar weithredoedd eu dwylaw: gan arfer gweddi, a thal-diolch wrth ddechreu, ac ar ddiwedd eu gwaith: ac ymgadw yn ofalus ar hyd y dydd rhag beiau cyffredin y byd: sef tyngu, rhegu, dywedyd celwydd, rhagreithio, twyllo, cribddeilio a'r cyffelyb.

*Phila.* Ym mha beth, adolwyn, y mae cybydd-dod fwyaf yn sefyll ynddo?

*Theol.* Yn awydd-chwant y meddwl. Canys fe ddichon dyn yn gyfreithlon wneuthur gwaith, a gorchwyl ei alwedigaeth; a bod yn gynnil, ac yn gryno yn tŷ, ac allan: Eithr gwilio sydd raid rhag rhwydo, a maglu ein calonnau mewn an-ymddiried yn Nuw, a chwannogrwydd i'r byd. Canys felly i'n gosodid ar frwdaniaeth anniffoddadwy, ac i'n anrheithid byth.

*Phila.* Os yn y galon yn enwedigol, ac yn bennaf, y mae cybydd-dod yn cartrefu, pa fodd y cawn ni wybod yn hyspys pa brŷd y bydd y galon wedi clafychu o honaw?

*Theol.* Y mae pedwar arwydd hynod yn dangos yn eglur pan * glafycher y galon o'r pechod hwn.

* neu glafychu galon.

Y cyntaf yw chwannogrwydd awyddus i glasclu. Am hynny y dywed yr yspryd glan. *Y neb â brysuro i fod yn gyfoethog ni bydd*

airamnaidi ymogelyd rhagcybydd-dodgan
Luc. 12. 15. ddywedyd: *Edrychwch ac ymogelwch rhag cybydd-dod.* Megis pe dywedaſei: na chyffyrddwch ag ef, na ddeuwch yn agos atto: Anad ly cythraul yw, marwolaeth ddiſymmwth, a gwenwyn yr enaid. Yr Apoſtol â dengys mor beryglus yw y pechod hwn gan ddywedyd.
Phil. 3. 19. *Diwedd y rhai oll yw deſtruw* ——— *y rhai ſydd yn ſynnied pethau daiarol.* Goſoded pob cribddeiliwr bydawl y pethau hyn at ei galon, a ſynnied yn ddeallgar o honynt: rhag digwyddo iddo achos i ddywedyd ryw ddydd: oh na wybuaſſwn.

*Phila.* Attolwg Syr, yſpyſwch i ni wir naturiaeth cybydd-dod, a pha beth ydyw, fel y gallom ei adnabod ef.

*Theol.* Cybydd-dod yw chwant anghymmedrol i feddu.

*Phila.* Gôbeithio yr wyf nad ydych chwi yn meddwl fod cynnildeb, a chrynodeb, ac yſmonnaeth dda yn gybydd-dod.

*Theol.* Nac ydwyf ddim. Canys pethau gorchymynedig yw'r rheini: ac iw harfer mewn ofn Duw, ac a chydwybod dda.

*Phila.* Onid ydych chwi yn tybied fod yn gyfreithlon i ddynion wneuthur eu gorchwylion bydol: a bod yn ffyddlon, ac yn ddiwid yn eu galwedigaeth er mwyn * darparu iddynt eu hunain, ac iw teulu eu hangenrheidiau?

* *rhaglu-niaethu.*

*Theol.*

*Theol.* Ydwyf yn ddiau. Ac yn enwedig os gwnant y pethau hyn drwy alw ar Dduw am fendith ar weithredoedd eu dwylaw: gan arfer gweddi, a thal-diolch wrth ddechreu, ac ar ddiwedd eu gwaith: ac ymgadw yn ofalus ar hyd y dydd rhag beiau cyffredin y byd: sef tyngu, rhegu, dywedyd celwydd, rhagreithio, twyllo, cribddeilio ar cyffelyb.

*Phila.* Ym mha beth, adolwyn, y mae cybydd-dod fwyaf yn sefyll ynddo?

*Theol.* Yn awydd-chwant y meddwl. Canys fe ddichon dyn yn gyfreithlon wneuthur gwaith, a gorchwyl ei alwedigaeth; a bod yn gynnil, ac yn gryno yn tŷ, ac allan: Eithr gwilio sydd raid rhag rhwydo, a maglu ein calonnau mewn an-ymddiried yn Nuw, a chwannogrwydd i'r byd. Canys felly i'n gosodid ar frwdaniaeth anniffoddadwy, ac i'n anrheithid byth.

*Phila.* Os yn y galon yn enwedigol, ac yn bennaf, y mae cybydd-dod yn cartrefu, pa fodd y cawn ni wybod yn hyspys pa brŷd y bydd y galon wedi clafychu o honaw?

*Theol.* Y mae pedwar arwydd hynod yn dangos yn eglur pan *glafycher y galon o'r pechod hwn.

** neu, ... glafych... galon.*

Y cyntaf yw chwannogrwydd awyddus i glasclu. Am hynny y dywed yr yspryd glan. *Y neb â brysuro i fod yn gyfoethog ni bydd*

Dha.28. 20. *bydd dieuog.* Drachefn: *Yr etifeddiaeth á geir ar frys yn y dêchreuad*, ni ffynna yn y diwedd.
Diha.20. 21. Hefyd y gŵr Cenedlig á ddywed; Ni all
Demoſt. in Olinth. neb fod yn gyfiawn, a myned yn gyfoethog ar frŷ s.

Yr ail arwydd o gybydd-dra yw cadw yr eiddom ein hunain yn rhŷ gerrith, ac yn grintachlyd. Pan fyddo dyn ac yntau yn gallu rhoi, yn anhawdd gánddo ymadael a dim, er daed, a duwioled fyddo'r achos. A phan orfyddo iddo or diwedd rhag cywilydd roddi rhyw-beth, fe ddaw hynny oddiwrtho yn anewyllysgar (Duw ai gŵyr) ac yn obrin ddigon.

Y trydydd arwydd o gybydd-dod yw esceulufo pethau ſanctaidd, a duwiol, pan fyddo cariad i bethau bydol wedi gorchfygu'r galon, a pheri iddi laesu, ac oeri ym mherthynas gwaſanaeth Duw.

Y pedwerydd arwydd o gybydd-dra yw rhoddi ymddiried mewn cyfoeth, a hyderu arnynt, fel pe bai ein henioes ni yn cael ei chynhaliaeth yn unig oddiwrthynt, ac yn ſefyll yn vnig arnynt: yr hwn beth y mae ein Harglwydd Jeſu yn ei wadu yn eglur lle y dywed, *Nid yw bywyd neb yn ſefyll ar*
Luc.12. 15. *amlder y pethau ydynt ganddo.*

Dymma bedwar o arwyddion, ac argoelion hynod, a didwyll, wrth y rhai y gellir adnabod yn hyſpys, pwy ſydd ai calonnau, ac ai ymyſcaroedd wedi-claſychu o gybydd-dod.

*Phila.*

*Phila.* Chwi a'n bodlonasoch ni yn dda iawn yn y pwngc hwn. Bellach moeswch glywed pa rai yw prif achosion cybydd-dod.

*Theol.* Dau achos pendifaddeu sy'n peri i ddynion fod yn chwannog. Y naill yw an-wybodaeth o ragluniaeth Duw, ac anym-ddiried ynddo.

Y llall yw diffig profi, archwaethu, a chlywed blâs ar bethau nefol. Oblegid hyd oni chaffo dynion flâs ar bethau gwell, hwy a fawrhânt y pethau hyn: hyd oni chaffont gydnabyddiaeth ar ne-foedd, hwy a garant y ddaiar, hyd oni byddont crefyddol, hwy a fyddant gyby-ddol.

O hyn hawdd yw dirnad yr achos pa ham yr ydys mor channog i'r pethau by-dol hyn, ac yn mawrhau cyfoeth, rhwysc bydol, meluswedd, a golud; sef oherwydd nad adwaenant bethau gwell, na phro-fasant erioed pa flas sydd ar bethau trag-wyddol.

*Phila.* Megis yr adroddasoch i ni achosi-on cybydd-dra: felly moeswch glywed bellach pa fath sydd ar ei ffrwyth.

*Theol.* Os dechreuaf vnwaith ar hynny, mi a syrthiaf mewn penbleth, neu megis mewn drysni, fel na wypwyf pa fodd y deuaf allan. Canys cyn-ddrwg, a chynnifer yw ffrwythau heintus y pechod anafus hwn, ac

mai

mai prin y medraf fwriadu, nac ym mha
fan y mae goreu i mi ddechreu, nac ym
mha le y diweddaf arno. Ond diweddwyf
fel y gallwf, mi a ddechreuaf arno.

*Phila.* Gadewch i ni gael prawf ar ychydig o honynt, ac fe fydd digon hynny.

*Theol.* Gan hynny, mi a gymhennaf bethau ar fyrr, ac mewn trefn. Ac yn gyntaf, mi a ymresymmaf o eiriau yr *Apostol*, a grybwyllwyd or blaen. Os cybydd-dod, a serch i arian yw gwreiddin pob drygioni; wrth hynny gwreiddin gaudduwiaeth ydyw, gwreiddin llofruddiaeth, gwreiddin lledrat, gwreiddin tyngu, gwreiddin celwydd, gwreiddin * cyssegr-werth, gwreiddin gwobraug, wreiddin occreth, gwreiddin ymgyfreithio, gwreiddin pob ymryfonau yn yr eglwys, a gwreiddin pob ymgeecreth, ac ymgynhennu mewn gwlâd. Heb law hyn, y mae cybydd-dod yn ymdanu ar lêd ym mhell, ac yn agos, ac yn cartrefu ym mhôb tŷ, ym mhob tref, ym mhob dinas. Spienna y mae ym mhob congl, ac ymlusco i bob calon, drwy ddrygu ein pysygwyr, llygru ein eglwys-wyr, llindagu ein cyfreithwyr, clwyfo ein llafurwyr, gwenwyno ein boneddigion, lladd ein celfydd-wyr, rheibio ein Marsiandwyr, a brathu ein morwyr. O cybydd-dod, cybydd-dod gwenwyn pob peth, archoll Cristianogaeth, anafod pob daioni: C

* Simoni.

ny

ys cybydd-dod ſydd yn difwyno pob peth,
ym mhob man, ym mhob lle, ym mhob
radd, a phob rhyw o ddyn. Difwyno
priodaſau y mae, drwy gyſſylltu yng-
hyd ieuaingc a hên, hên ag ieuangc. Dif-
wyno lletteugarwch, difwyno ſyber-
wyd, difwyno eluſenau, difwyno cre-
ſydd, difwyno crefydd-wyr, difwyno
eglwyſwyr, difwyno llywodraethwyr, a
difwyno pob peth. Ac am hynny pa be-
chod mor anguriol, pa ddrŵg mor ffiaidd,
pa fallhaint mor anafus, mor ſceler, mor
atcas a hwn? O herwydd hyn odiaeth y
dywedaſai ryw vn gynt: Nad yw pob
math ar feiau eraill ond gorchwylwyr i
gybydd-dod, i waſanaethu ei gyfraid ef,
megis clud-wyr i gyrchu, ac iddwyn i mewn
iddo ei fywyd. Caethwas, ac megis trottai
iddo yw cyſſegrwerth, gwobrau, occreth,
twyll, tyngu, celwydd, ar cyffelyb. O pa
ddiaſol cnawdol yw hwn, ſy'n goſod ar
waith gynnifer o bechodau: a chanddo
y fath gaeth-weiſion, a negeſeuwyr ta-
no i waſanaethu ei drô? Ond odiaeth dy-
bygech chwi yw helynt y rhai a lygrwyd ar
pechob hwn? Nagê greſynol yw eu cyflwr.

Da fuaſei iddynt pe nas ganeſid hwynt
erioed. Oblegid er eu bod yn fyw, meirw
ydynt: meirw (meddaf) yn eu eneidiau:
Canys cybydd-dod yw gwenwyn yr enaid,
echryſhaint yr enaid. Cybydd-dod yw'r
gwen-

gwenwyn cryfaf ir enaid ar a ddichon bod. Rhyw gymmysc-bla ydyw megis or holl bryfedach, ac ymlusciaid mwyaf eu gwenwyn ar y ddaiar. Os dichon y cythraul beri i ni lyngcu cymmaint a' phwys ceiniog o hwn, digon ganddo hynny, ni ddamunei ddim ychwaneg; canys hynny a'n lladdei yn feirw fyth. O hyn y dywed yr Apostol: y rhai a fynnant ymgyfoethogi (sef ar frŷs bid iawn, bid cam) syrthio y maent i brofedigaeth, ac i fagleu, ac i lawer o drachwantau angall, a niweidus, y rhai sy yn boddi dynion i golledigaeth, ac i ddestruw. 1 *Tim.* 6. 9.

Canys megis y mae cybydd-dod yn wenwyn marwol i'r enaid: felly y mae'r Apostol yn ei gyffelybu i ryw sybwll dyfn yn yr hwn y mae miloedd yn boddi. Ac am hynny y dywed ym mhellach yn yr un fan: *Ond tydi o wr Duw gochel y pethau hyn.* Yn y geiriau hyn, synhwyrol tros ben y mae efe yn cynghori gwenidogion gair Duw i ymogelyd rhagddo. Canys megis y mae'r pechod hwn yn beryglus, ym mhwy bynnag y byddo: felly y mae yn fwy enbydus, a thramgwyddus ym mhregethwyr yr Efengyl.

*Phila* Yn wir ni ellir amgen na chyfaddeu bod cybydd-dod yn bechod dirfawr, anghenfil saith bennog: Etto er hyn ei gyd nyni

hyni a welwn yn yr oes haiarnaidd hon, pa nifer mawr o bob math ar ddynion a lygrir ganddo, a lleied yw rhifedi y rhai a roddant ddim i weithredoedd da. Y rhan fwyaf yn y dyddiau hyn ni allant hepcor dim i Grist, dim i'r Efengyl, dim i'r eglwys, dim i anghenus blant Duw, ac aelodau tlodion Crist. Ychydig iawn y mae Crist yn rhwymedig iddynt; canys ni wnant ddim erddo, ie gymmaint a dywedyd, gair da yn ei blaid, ac ynghweryl ei feintiau tlodion ef. Pob peth gwael a dybiant hwy yn rhydda i Dduw, ac i ddynion da.

Oblegid pan ddelont hwy i gyfrannu tu ag at faentumiaeth duwioldeb, ac achosion crefyddol, hwy a safant yn dynn ar * geiniog, ac a ruffant mewn pethau dibris; gormod yw'r draul leiaf ffordd honno. Eithr iw dreulio arnynt eu hunain nid yw ddim yn ormod. Nid yw ddim yn ormod a dreulier ar eu trachwantau, au trythyllwch, ar y cefn, ar bol, ar adeilad, ar gardiau, a disiau, ar fudrogod, ar ryfedd a bugeilrhes, ar dafarnau a phutteindai. Digon bychan yw cantoedd, a miloedd, ie a rhy-fychan iddynt iw treulio ffordd honno. Tosturus yw ystyried pa bentyrrau o arian â afradlonir, ac â dreulir ar y pethau hyn. Eithr gwae, gwae hwynt drymmed yw'r cyfrif sydd raid ei wneuthur yn nydd

* *Neu, anhawdd ganddynt roddi gymmaint a cheiniog.*

yr

yr Arglwydd, am ddifrodi eu tiroedd, au rhenti, a'u hardrethi. Yr wyf yn crynu wrth feddwl beth a ddaw o honynt yn y diwedd. Da fyddei iddynt pe na bai gwaeth eu cyflwr na'r neidr, neu'r costog tom.

*Theol.* Gwir iawn a ddywedwch; ac y mae i bawb o honom achos i bryderu am y pethau: ac i goffau hên gwynfan y Prophwyd
Ierem. 6.13. *Ieremi*, gan ddywedyd. *Or lleiaf o honynt hyd y mwyaf, pob vn sydd yn chwenychu golud; ac or* Prophwyd *hyd yr offeiriad pob vn sydd yn gwneuthur ffalster.* A Phrophwyd arall a
Micah 3. 10. ddywed. *Adeiladu Sion y maent a gwaed, ac Ierusalem ag anwiredd; ei phennaethiaid â roddant farn er gwobr: a'i offeiriaid â ddyscant er cyflog, a'r* Prophwydi *a brophwydant er arian, etto wrth yr Arglwydd yr ymgynhaliant gan ddywedyd, onid yw'r Arglwydd i'n plith? Ni ddaw drwg i'n herbyn.*

Y Prophwydi sanctaidd hyn, a gwŷr Duw ydynt yn dangos i ni yn helaeth, helynt ein hamser ein hunain. Yn yr hwn er bod pawb wedi eu llygru, etto hyderu yr ydym ar Dduw, a rhyfygu oi ffafor ef o herwydd ein professs, a'n crefydd, a dywedyd yn ein calonnau: ni ddaw drŵg i'n herbyn.

Asune. *Gwir vnion a ddywedwch Syr; ni bu'r byd erioed wedi ei osod mor llwyr ar gybydd-dod, na dynion erioed mor chwannog i'r byd, ac y maent yn y dyddiau hyn. Ac*

etto

*etto (mewn gwirionedd) nid oes dim or fâth achos i beri i ddynion fod mor awyddus ir byd hwn. Oblegid nid yw'r byd ymma ond gwagedd: ac nid yw'r cwbl ond sorod a sothach: ffei or dommen ymma.*

*Phila.* Llawer o'ch cyffelyb chwi â fedrant yn gyfrwys ddigon adrodd geiriau têg, a dywedyd ffei o'r byd ymma, nid yw'r cwbl ond gwagedd, ac er hyn yn eich ymarweddiad ydych yn rhoddi eich brŷd ar y byd fel eraill. Nid ydych yn ymgais a Duw ddim chwannoccach, nac yn gwrando ei air ef ddim mynychach: nac yn ei ddarllain ddim diwittiach:nac yn gweddio ddim dyfalach. Yr hyn beth â ddengys yn eglur nad yw eich geiriau hygoel, a'ch glân gyffes ddim amgen, ond rhagrith a chelwydd. Nid yw eich calon ar Dduw er hyn ei gyd. Nid yw'r cwbl ond geiriau: Nid oes dim or fath gynnwrf oddi mewn yn y galon. Am hynny mi â allwn yn hy-dda ddywedyd wrthych chwi fel y dywedodd Duw wrth ei bobl: Y bobl hyn â ddywedasant yn dda, yr hyn oll a ddywedasant; oh na byddei hyn o galon ganddynt, i'm hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion. Deut. 5. 28,29.

*Theol.* Ei eiriau ef ydynt dda, pe bai ei galon yn cyttuno a hwynt, Canys wrth ystyried y cwbl, nid oes achos i ddynion fod mor awyddus ir byd. O blegid y mae

yn rhaid iddynt ei adael, darfyddo gwneuthur eu goreu. Megis y dywedir, Heddyw yn hoiw-ddyn, y foru yn adyn. Ac fel y
1 Tim.6. 7. dywed yr Apostol: *Ni ddugasom ni ddim i'r byd, a diogel yw na allwn ddwyn dim ymmaith.* Marw sydd raid i bawb, ni wyddom pa cyn gynted: a pha ham y gesyd neb ei galon ar bethau mor anwadal, a thwyllodrus? Oblegid pob peth yn y byd ymma sydd yscafnach na'r bluen, breuach na'r gwydr, cyflymmach na chyscod, darfodediccach na'r mŵg, ac anwadalach na'r gwynt. *Diau* medd y Prophwyd *Dafydd*:
Psal. 39. 6. *Dyn sydd yn rhodio mewn cyscod, ac yn ei flino ei hûn yn ofer: y mae efe yn pentyrru golud, ac ni wyr pwy a'i casgl.* Y mae yn rhyfedd gennifi fod y wâdd hyn, ac abwyd y ddaiar, sef cybyddion deillion, yn ymsynhwyro am y pethau diflannedig yma, ac yn ymhoffi ynddynt fel y maent. Oni bai fod diafol wedi eu caledu hwynt yn athrugar, nid ymgaredigent ar dywarchen, ac ar geiniog mor dynn ac y maent; gan dybied, a meddwl beunydd nad oes dedwyddwch i'w gael ond yn y pethau hyn, y rhai nid ydynt ond sorod, a sothach. Ac ar y diwedd a ddiengant oddi cennym pan dybiom ein bod yn siccraf o honynt. Y brenin doeth yr hwn a gafodd y prawf mwyaf ar bethau bydol, ac â gafodd dyn erioed (canys efe â swynhaodd beth bynnag

nag â allei y byd ymina ym mhôb modd ei osod ger ei fron) er hynny ni fedrodd efe gael ynddynt ddim amgen ond gwagedd, a blinder yspryd. Heb law hyn y mae efe yn dadleu yn daer am holl bethau godidoccaf y byd, sef golud, cyfoeth, anrhydedd, difyrrwch, a thryssor, y siomma y pethau hyn ni yn y diwedd, yr ymlithrant ymmaith, ac i'n gadawant: Canys efe a gyffelyba gyfoeth, a gogoniant y byd hwn i eryr, neu walch, yr hwn â ddeil dyn ar ei ddwrn, gan ei lyfnhau, a'i fawrhau, a chymmeryd difyrrwch mawr ynddo, ac ni chymmerei ddêg punt am dano: eithr ynghanol hyn y gwalch yn ddisymmwth a ymgyfyd ar ei adenydd, ac a eheda ymmaith i'r awyr, heb wybod i ba le, ac byth mwyach ni welant hwy eu gilydd.

Geiriau yr yspryd glân yw y rhain. *A beri di i'th lygaid ehedeg arnynt?* (Gan ddeall am gyfoeth) *Ti â elli: yn y man y darfyddant, ac y cymmerant adenydd, ac megis eryr yr ehedant ymmaith tu a'r wybr.* Oddiwrth hyn y gallwn ddyscu, er maint y serch, ar hoffder, a roddom ar bethau daiarol: etto y pethau hynny ar hynt, naill ai a gymmerir oddiwrthym ni, neu ninnau oddiwrthynt hwy. Oherwydd paham nid yw dynion bydawl ond gweu gwê y prŷf coppyn, ac â ellir eu cyffelybu yn gymmwys i'r prŷf coppyn: yr hwn a ymdrafferthа

Diha. 5.

 yn

yn gweithio drwy'r wythnos i orphen ei
we, fel y gallo gyfanneddu ynddi megis
mewn tŷ, a thyddyn or eiddo ei hûn: eithr
yn niwedd yr wythnos llangcesig wrth
lanhau y tŷ, ag vn arfod ag yscub a'i disuddia
or etifeddiaeth a ddarparasai iddo ei
hûn drwy fawr boen, a thrafferth. Felly yn
yr vn modd, darfyddo i ddynion y byd, drwy
ofal, a gofid bwrcasu tiroedd helaeth, ac ardrethi
mawrion, gymmaint oll, ac â allent:
yno y daw angeu arnynt yn ddisymmwth,
ac a ddŵg eu henioes ag vn brâth ai lem-biccell:
ac yno pa le y maent hwy? Godidawg
y dywedasei gŵr call gynt wrth lewyrch
naturiaeth: *Ni bu neb erioed yn byw yn y byd
ymma mor ddedwydd, ar na ddigwyddodd iddo
lawer o bethau, o herwydd y rhai y dewisei yn
hyttrach farw na byw.* Ac yn wir ddigelwydd
yr wyfi yn tybied na bu neb eriod yn byw
vn diwrnod ymma ar y ddaiar, yr hwn ni
oddefodd ryw drallod neu gilydd, neu yr
hwn ni ellid trallodi ei feddwl cyn y nôs:
Naill ai drwy brofedigaethau y byd, neu'r
cnawd neu'r cythraul. Neu o ran ei enaid,
neu ei gorph, ei dda, neu ei eir-da: O herwydd
ei wraig, ei blant, er geraint, neu ei
gymmydogion. O herwydd rhyw enbydrwydd
yn achos y brenin, y Pennaethiaid, yr
eglwys, neu'r deyrnas: O achos trychineb
a chollédion drwy ddwfr, neu dân, ar fôr,
neu ar dîr. Pa fath fywyd yw hwn, nad oes

yn-

ynddo vn dydd diogel? Pwy â chwennychei hir-drigo ynddo? oblegid y mae yn ddarostyngedig bob dydd i amryw drueni, peryglon, colledion, damweiniau, dannodiaeth, gwradwydd, anair, tlodi, clefyd, afiechyd, y tostedd, y crŷd, y ddannoedd, dolur o ben, dolur o getn, gwewyr yn yr escyrn, a mil o ofidiau.

*Phila.* Odiaeth yr adroddasoch i ni oferedd y bywyd ymma; ac nad oes ddiwrnod yn ddiangol oddiwrth ryw aflwydd neu gilydd, y naill ofid neu'r llall. Yr hyn beth y mae ein Harglwydd Jesu yn ei gadarnhau yn y rheswm â ddŵg efe i brofi na ddylid drwy * anymddiried ofalu dros drannoeth: digon (medd efe) i'r diwrnod ei ddryganiaeth ei hûn. Neu fel y darllain rhai: y mae i'r diwrnod ddigon iw wneuthur ai flinder ei hûn. Lle y dangosir yn amlwg fod i bob diwrnod ei dristwch, ei ddryganieth, ei gystudd, a'i wrthwyneb. Eithr attolwg ewch rhagoch yn y pwngc hwn.

* *Anf ddis.* Matth. 34.

*Theol.* Hyn yr wyf yn ei ddywedyd ym mhellach. Darfyddo i ddynion ymchwthu, ac ymchwysu, ymofidio ac ymofalu, ymdrabaeddu, ac ymdrafferthu nôs a dydd, ar fôr ac ar dir, drwy ddirfawr ofal, a blinder, llafur a lludded i gribinio ynghyd bethau y bywyd ymma: etto ar hynt ymmaith yr â y cwbl: a rhaid yw i ni ddiweddu lle y dechreuasom. Canys fel y dywed *Iob.*

1. *Yn noeth y daethom i'r byd, ac yn noeth rhaid yw myned allan o honaw.* Oblegid megis y bydd melin wynt yn ymguro, ac yn ymdrystio, yn ymchwrnellu, ac yn ymdroellu o ddydd bwy gilydd drwy'r flwyddyn: etto ar ben y flwyddyn sefyll a wna lle y dechreuodd, heb symmud droedfedd ym mlaen nac yn ôl: felly darfyddo i ddynion ymchwthalu, ac ymofalu hyd eithaf eu gallu, drwy ymorchestu i grafu ynghyd gyfoeth y ddaiar: er hynny yn y diwedd y mae yn rhaid iddynt(o anfodd eu dannedd)ddiweddu lle y dechreuasant:Diweddu ar ddim megis y dechreuasant oddiwrth ddim, diweddu mewn amdo fel y dechreuasant mewn rhwymyn. Canys beth a ddaeth o'r Brenhinoedd, Tywysogion,Cedyrn,ar Pendefigion galluoccaf a fu erioed yn y byd?ym mha le y mae *Cyrus*, *Darius*, *Xerxes*, *Alexander*, *Cæsar*, *Pompey*, *Scypio*, *a Hannibal*? ym mha le y mae yr *Harriaid*, *a'r Edwardiaid*, *Brenhinoedd* gŵrolwych, ac Ardderchawg o Loegr? Onid aethant oll i wared i dŷ anghoffadwriaeth? Oni ddychwelasant oll iw daiar? Ac oni ddarfu am eu holl amcanion hwynt? Ac er eu bod gynt megis duwiau, etto hwy a fuant feirw fel dynion, ac a gwympasant fel eraill. Pwy heddyw sy'n eu hofni? Pwy yn sôn am danynt? Pwy sy'n gwneuthur cyfrif o honynt? Onid yw cardottynion yn sathru arnynt: Tra fuont

ſyw, Aglwyddi ar y byd oeddynt, mor ofnadwy a llewod. Dychryn i bawb oeddynt, yn llawn rhwyſc, anrhydedd, ardderchawgrwydd, a mawredd, yn gorthrechu pob man lle y delynt, a phwy onid hwynt hwy? eithr yn awr ymadawſant ar byd : Ac (fel y dywaid *Iob*) *Aethant i wared iw tŷ rhagderfynedig i bod dyn byw:* Eu rhwyſc a ſyr thiodd i gyd a hwynt, au holl ogoniant a gladdwyd yn y llŵch. Heddyw y gorchguddir hwynt tan bridd, medi eu bwrw allan iw beddrod, a'u gwneuthur yn gyfeillion i lyffaint, a'r pryfed a'u hyſſa. A pha ddigwydd a ddaeth o'u eneidiau hwynt, dyna'r peth ſydd fwyaf iw ofni. Felly nyni a welwn nad yw pob cnawd ond ymrithio tros amſer ar dwmpath trueni y byd hwn, a rhoi trô oddiamgylch, a difannu yn ddiſymmwth. Oblegid fel y dywed y Poet. Job. 30. 23.

*Serius aut citius ſedem properamus ad vnam.*
Rhai yn hwyr, a rhai yn gynnar,
Pawb ſy a'u hynt ar ſyn'd i'r ddaiar.

*Phila.* Godidog oedd eich ymadrodd : odiaeth gennif ei chlywed: ni fedraf na ryfeddwyf wrth ſynnied yr holl bethau hyn, fod dynion yn ymroi i'r byd mor llwyr, ac y maent, y cythraul, dybygaf, a gafodd wall arnynt: Canys ni ddygant ddim ganddynt wrth

 farw

farw, onid eu gweithredoedd da, a drŵg.

*Theol.* Cribddeilwyr tomlyd y byd hwn â ellid yn gymmwys eu cyffelybu i dryffor-farch Brenin, yr hwn á ddwg ei bwn o aur neu arian gymmaint ac â allo ei gynnal, eithr yn yr hwyr y tynnir y tryffor oddiarno, ac ynteu â droir i stabl domlyd, heb ganddo ddim wedi ei adael ond ei fol yn wâg, a'i gefn yn friwedig: Felly dynion goludog megis mulfrain yn llyngcu'r cwbl, neu lindis yn difetha, ac yn yssu â ddelont o hŷd iddo, yn ôl iddynt gasclu ynghyd bentyrrau athrugar o aur ac arian (y rhai ydynt megis pynnau arnynt iw dwyn tra fônt yn y byd) a ddiofcir yn y diwedd or cwbl oll: ac a ddymchwelir i'r bedd, heb ddim or da mawr yn glynu wrthynt: ond yn vnig eu cydwybodau yn llygredig, ac yn anafus. Ynghyd a'r rhain y treiglir hwynt i geu-dwll tywyllwch tragwyddol.

*Phila.* Ym mha beth yn bennaf y mae colyn, a nerth y byd yn sefyll ynddo?

*Theol.* Megis gynt yr oedd mawr gryfder *Sampson* yn sefyll yn ei wallt: felly mawr gryfder y byd fydd yn sefyll yn ei ddwy tron, y naill o felus-wedd, a'r llall o fudd. Oblegid tebig yw'r byd i fudrog ddigywilydd, yr hon drwy noethi ei bronnau, â fai yn hudo dynion i anlladrwydd: Ac felly y mae'r byd yn rheibio, ac yn twyllo miloedd i ymroi iw drachwantau: Canys oni

ddichon

ddichon ein twyllo ni ar naill fron, etto efe á gais ein hudo ar llall. Os metha gan y byd ein hynnill ni â meluswedd, efe a ddyry gais i gael methel arnom a budd; os metha â budd, efe a gais a melus-wedd. Dyn rhyfedd yw efe o fil yr hwn ni sugno o vn or ddwy fron hyn. Eithr pa vn bynnag a sugno, diau y gwenwynir ef: Canys nid yw'r byd yn rhoi dim amgen llaeth onid gwenwyn marwol. Oblegid tebig yw'r byd i Jael wenheithus yn eistedd wrth ei drŵs, ac yn gwahodd dynion i ddyfod i mewn i yfed o laeth ei goeg-ddigrifwch; ond hwyn gyntaf y caffo gennym ddyfod i mewn, y mae efe yn barod (ie tra fôm yn bwytta) ai forthwyl, ac ai hoel i'n trawanu trwy ein ymennydd, megis y gwnaeth Jael a Sisera, *Barn.* 4. 21.

*Phila.* Mi â welaf yn eglur nad yw y byd ond megis putteinwraig, abwyd cryt, neu rwyd faglog, yn yr hon y delir miloedd. Glûd ydyw yn gludio ein nwydau ni fel na ddichon ein deisyfiadau dderchafu i fynu. Cyffelyb yw i bwysau clocc â rwymid wrth ein eneidiau, ac au tynnai i lawr ir ddaiar. Ein hoelio y mae yn dynn wrth y ddaiar, a'n marweiddio fel clai, a'n gwneuthur yn ffiaidd gan yr Arglwydd. Yr wyf yn cofio wneuthur o Dduw gyfraith, mai pa beth bynnag â gerddei ar ei dorr a ddylei fod yn ffiaidd i ni. Pa faint ffieiddi- Levit. 11. 42.

 ach,

ach, yw'r cribddeilwyr cnawdol hyn,y rhai a gyfansoddir yn dynn wrth y ddaiar.

*Theol.* Yr Apostol S. *Jago* wrth ystyried drygioni y byd, (a gwybod mor ffiaidd i'n gwna ni ger bron Duw) sydd yn llefain yn ei erbyn, gan ei gyfenwi yn odineb, a'r cybyddion yn odineb-wyr, o herwydd eu bod yn gwrthod Crist, eu gwir briod, ac megis putteiniaid yn rhoddi eu calonnau i'r

Jag. 4.4. byd. *Chwi odineb-wyr a godineb-wragedd, oni wyddoch fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw? Pwy bynnag am hynny a fynno fod yn gyfaill ir byd y mae yn ymwneuthur yn elyn i Duw.* A phwy a feiddia sefyll allan a dywedyd, myfi a fyddaf elyn i Dduw? Pwy gan hynny a feiddia fod yn gybudd? Beth gan hynny a ddaw o honoch chwi o gybyddion drygionus?

*Phila.* Eglur yw wrth yr Scrythyrau mai peryglus tros ben yw gormod serch ir byd hwn, a chwannogrwydd annigonol i gasclu. Ac na ŵyr dynion pa beth y maent arno, pan fyddant mor awyddus yn ymroi i'r byd.

*Theol.* Y gŵr cenedlig Sophocles a gyfyd yn y farn i'n herbyn ni: Canys efe a ddywaid: *Annigonolrhwydd yw'r drygioni ffieiddiaf ym mhlith dynion*: Eithr yn ein mysc ni y mae llawer yn debig i'r sugndraeth, neu'r llyngc-lyn, ni wnant gydwybod o lyngcu y cwbl a ddelont o hŷd iddo, ac er hynny ni fedrant ymddigoni. Ni ddichon

chon yr holl fyd eu bodloni, ond rhaid yw i Dduw greu bydoedd etto o newydd iw bodloni hwynt. Cleifion ŷnt or dropsi aur, pa fwyaf a gaffont, mwyaf a geisiant. Serch i arian a gynnydda fel y cynnyddo yr arian. Eithr yr Scrythur a ddywaid, *Yr hwn a garo arian ni ddigonir ag arian.* Oh nad ymegnîem ni yn fywiog i ddiangc allan or vffern-dwll hwn, a sathru y lleuad (sef pethau bydol) tan ein traed, fel y dywedir am yr eglwys. Oh na roddem ein serch ar bethau vchod, ac nid ar bethau sydd ar y ddaiar. Oh nad ehedem yn vchel, ac nad ymgodem fel eryrod, gan edrych i wared ar y byd ac ar bob peth sydd ynddo, megis tu ar llawr, drwy ddirmyg, a sathru tan ein traed ei odidawgrwydd ef, fel na chaffei byth mwyach feistroli arnom. Preg. 5. 10. Datc. 12. 1.

*Phila.* Dedwydd a thra dedwydd yw'r hwn a ddichon wneuthur hynny. Ac mi a attolygaf i'r Goruchaf Dduw roddi i ni ei yspryd Glân, fel i'n derchafer goruwch y byd hwn i fynyddoedd y myrrh a mynyddoedd y peraroglau. Canys faint dedwyddwch fyddei i ni fod ein ymarweddiad yn y nefoedd? Sef bod gwladwriaeth ein calonnau gyd â Duw, drwy aml weddiau, darllain, myfyrio, a nefol ddeisyfiadau: hyn yn ddiau fyddei ddringo i fynu goruwch y byd, a chyfanneddu o fewn stafelloedd tangneddyf. O na fedrem ni lwyr ddirnad Can. 4. 6.

nad y byd hwn, ai iawn ystyried yn ôl ei naturiaeth. Na chofiem yn ddifrif-bwyll yr oferedd sydd ynddo, a godidawgrwydd y byd a bery byth, fel i'n cynnyrfid i ddiystyru y naill, ac i garu'r llall: i gasau y naill, ac i fawrhau y llall, i garu Duw yn fwy nag erioed, ar byd yn llai. Canys beth yw'r byd hwn ond gwagedd ar wagedd?

*Antil.* Aruthr o'r diystyru yr ydych chwi ar y peth y mae eraill yn ei gymmeryd yn Dduw iddynt. Dirmygus y dywedwch am y peth y mae yrhan fwyaf yn ei fawrhau yn rhagorol. Dibrisio a wnewch chwi y peth y mae llaweroedd yn gwneuthur cyfrif mawr o honaw. Moeswch glywed eich rhesymmau chwi. Dangoswch yn eglurach pa fath beth ydyw, hyspyswch ei ddull ai agwedd.

*Theol.* Y byd, ir ôr o wydr ydyw, ymddangos-fa ffôl-ddigrifwch, chwareufa oferedd, catberth amryfusedd, sybwll gofidiau, cut o fudreddi, dyffryn trueni, drŷch o adfydwch, afon o ddagrau, syngryg hudoliaeth, cawell yn llawn o dulluanod, lloches scorpionau, anialwch o fleiddiau, caban o eirth, corwynt cystuddiau, difyrrwch twyllodrus, gwall-gôf llawen-ffôl, lle y mae digrifwch siommedig, cystudd anochel, tristwch diymmod, llawen-fyd anwadal, aflwydd diddiwedd, llwyddiant diflannedig, trymder hir-faith, hyfrydwch darfodedig.

*Phil.*

*Phila.* Yr awr hon y dangosasoch ddull, ac agwedd y byd hyd yr eithaf, ac a'i gosodasoch allan wrth ei liw a'i arwydd. Ac fe ellid tybied ei fod efe wedi ei reibio, neu yn ynfyd cynhwynol yr hwn o hyn allan a osodei ei feddwl arno. Ond etto ewyllysio yr wyf gael clywed ychydig ychwaneg am y peth a ofynnais i chwi gynne: ym mha beth yn bennaf y mae nerth, a gwenwyn y byd yn sefyll ynddo?

*Theol.* Yn hyn y mae mawr gryfder y byd yn sefyll, sef o'i fod yn tynnu i lawr sêr y nefoedd, ac yn peri iddynt gwympio ir ddaiar; fel y dywedir am gynffon y ddraig. Yr hon yw swydd-ymgais, cybydd-dod, a serch ir byd hwn. Canys y mae i ni le i ryfeddu, ac i bryderu wrth weled pa wedd y mae serch ir pethau hyn wedi anafu, a gorchyfygu llaweroedd o weision enwog i Dduw, yn gystal Pregeth-wyr a Phroffesswyr yr efengyl: yr hyn beth sydd argoel hynod o'i gryfder ef. Oblegid hwn yw'r offeryn cadarnaf, ar erfyn deheuaf a gymmer Satan i osod arnom, pan ballo pob peth arall. Datc. 12

Canys prýd na thycciei math yn y byd ar brofedigaeth yn erbyn Crist, y Cythraul a ddûg allan yn ôl y cwbl, yr arf hwn iw erbyn: sef *Yr holl bethau hyn â roddaf i ti*, gan ddangos iddo ogoniant yr holl fyd. Felly efe (wedi profi yn fynych nad yw hwn yn pallu un amser) a fwriadodd orchfygu Crist Matth. 4.

ei hun ag ef. Ac wrth hynny cryfder y byd ar Cythraul sydd yn sefyll yn y pethau hyn. Canys pwy nis daliodd efe yn y magl hwn, sef, *Yr holl bethau hyn a roddaf i ti.* Pwy nis clwyfodd? Pwy nis twyllodd? Pwy ni orchfygodd? Dymma'r modd yr hudodd efe *Balam*: Dymma'r modd y twyllodd efe *Achan*: A hwn y gorthrechodd efe *Iudas*: A hwn y rheibiodd efe *Demas*. Ac a hwn yn ein dyddiau ni yr awr-hon y mae efe yn twyllo llawer o ddynion rhagorol. Oblegid *Phenix* yw efe ym mhlith dynion yr hwn nis gorthrecha'r byd: Je rhyfeddod yn y byd yw'r hwn ni ellir ei ynnill ag arian.

*Phila.* Yr wyfi bellach, wedi fynghwbl fodloni am y matter ymma: eithr vn peth etto sy'n taro yn fynych yn fy meddwl; sef na ddichon bod gan y crintach-wyr cyrrith hyn ddim gwir gyssur yn eu digrifwch a'u cyfoeth, o herwydd nad oes ganddynt ddim cyssur yn Duw, na heddwch yn eu cydwybodau eu hunain.

*Theol.* Gwir iawn a ddywedwch. Amhossibl i'r sawl a garant y byd hwn, allu cael dim gwir gyssur yn Duw. Oblegid ni ddichon neb wasanaethu dau feistr, Duw a golud bydol.

Am hynny peryglus, ac ofnadwy yw eu cyflwr hwynt, er nad ydynt yn ei weled, nac yn ymwrando ag ef; megis y dangosaf i chwi wrth siampl hynod Beth pe bai vn or

crib-

cribddeilwyr goludog hyn, wedi ei wisco mewn melfed, a brethyn aur yn wŷch ragorol; a'i osod i eistedd ar ei fwrdd, a hwnnw yn gyflawn o bôb danteithion bydol; a chael ei wasanaethu gan lawer o weision yn dra Arglwyddiaidd, ac yn vrddassol tros ben, a bod yn eistedd yn ei oruwch stafell, a honno yn discleirio fel eur-lliw; a chael dwyn atto bôb gwasanaeth, y cyntaf, ar ail, ar trydydd a cherddorion, yn dra pendefigaidd; ac yntau yn ei gadair fel Brenin ar ei orseddfa: etto er hyn i gyd, pe gosodid y pryd hwnnw wrth ei ddwyfron ef ddagr noeth, barod iw drywanu: Pa hyfrydwch, pa lawenydd, pa gyssur â allei efe ei gymmeryd yn yr holl bethau eraill? Felly yr vn modd pa rwysc, neu ddigrifwch bynnag y mae dynion drygionus yn ei gael ymma ar y ddaiar, etto eu heuog, ai vffernol gydwybod sydd megis dagr lem wedi ei gosod beunydd yn agos at eu calonnau, fel na ddichon bod ganddynt ddim gwir gyssur mewn dim ar â feddant.

Neu gadewch i mi ddwyn y peth ar ddeall i chwi fel hyn. Beth pe gwnai ddŷn fradwriaeth yn erbyn y Brenin, a'i fod am hynny wedi ei ddal, ai farnu, ai fwrw iw grogi, ac iw dynnu yn aelodau: yn y cyfryw gyflwr â hwn, beth â ddichon roddi cyssur yddo? A ddichon difyrrwch, a cherddoriaeth? A ddichon aur, neu arian, neu diroedd

edd, neu ardrethi? Na ddichon: Nid oes yr vn or pethau hyn a wna lesád iddo, naca ddiddana ddim arno. Oblegid meddwl gwastadol am farw sydd yn gwascu cyn dosted ar ei galon, fel na ddichon dim oll wneuthur llesad iddo, nac esmwythau ar ei ofid.

Beth gan hynny ai cysura yn y cyfryw anghysiwr a hwn; Onid pardwn wedi ei selio, a sêl fawr y Brenin, ai law ef ei hûn yn scrifennedig wrtho. Canys cyn gynted ac y caffo hyn, ei galon farwaidd a adfywia, ac a lonna o lawenydd. Dymma wir gyflwr pob cribddeiliwr bydol, aflan, a Didduw, yr hwn nid oes ganddo oddiwrth y Brenin nefol ddim siccrwydd o Bardwn, a maddeuant am ei bechod: ac yno pa lawenydd a ddichon fod gantho yn ei fwyd, ai ddiod, ei dda ei anifeiliaid, ei wraig, ei blant, ei diroedd, ai ardrethi, nac mewn dim arall ar a [illegible]êdd? Canys meddyliau dychrynllyd am vffern sydd bob awr yn ei gythryblu oddi fewn: yn tagu ac yn diffoddi ei holl lawenydd. Nid ymlonydda cydwybodau treiswyr, a chribddeiliaid either cyfodi a wnant drwy ofn, a dychryn i gyhuddo, a thestiolaethu iw herbyn: gan ddywedyd wrthynt yn frau, ac yn ddiragrith mai colledig ydynt, er llawened, a digrifed y cymmerant arnynt fod yngolwg y byd.

Canys nid oes ddadl na bônt yn dioddef

o'u

o'u mewn, lawer gwaſcfa drom, a llawer-
oerloes calon; ac nid yw eu holl ddigrif-
wch, a'u rhodres ond gwên ar y genau yn
vnig oddiallan, heb ddim gwir gyſſur yn y
galon. Am hynny y dywed y Brenin
doeth. *Je wrth chwerthin y bydd blîn ar y* Diha. 14.
*galon: a diwedd y llawenydd hwnnw yw* 13.
*tristwch.* *Job* hefyd y gŵr ſanctaidd a ddy- Job. 27.
wed. *Dychrynniadau a'i goddiweddant ef fel* 20.
*dyfroedd; corwynt a'i cippia ef liw nôs.*
Eliphas y Temaniad a gadarnha yr vn
peth, *Holl ddyddiau yr annuwiol y bydd*
*efe yn ymofidio*, &c. *llais ofnadwy ſydd yn* Job. 15.
*ei glustiau ef*, &c. *felly nyni* a welwn pa 20, 21.
ſodd bynnag y mae llawer annuwiol-ddyn
cnawdol yn rhwyſorio (a'i hwyliau yn
vchel yngolwg y byd) ym mhôb diſyr-
wch, a llawenydd, gan ddangos wyneb
têg: etto efe a ddwyſ-bigir oddimewn a
dychrynniadau, ac a gwaſcfaoedd cydwy-
bod yn erchyll tros ben, ac yn dra ſſyr-
nig.

*Antil.* Chwi a ddywedaſoch lawer yn
awchlym yn erbyn cybydd-dod: Eithr i'm
tyb i tra na chwenycho neb ond yr eiddo ei
hûn, ni ellir dywedyd ei fod ef yn gybudd.

*Theol.* Gellir yn wir: Canys nid yn v-
nig efe ſydd gybudd yr hwn a chwenny-
cho yn awyddus eiddo arall: ond hwnnw
hefyd a gadwo, ac a ddalio yn dynn, yn
garlaidd, ac yn grintachlyd ei eiddo ei hûn.

ac

ac â fyddo mor galed ac na ddaw dim oddiwrtho, onis gwescir o'i ansodd, megis gwascu agoriad o law Hercules.

Nid gwaeth gan y cribinwyr tomlyd hyn golli eu gwaed nac ymadael a'u da. Prinhau â wnânt ar y bol, ar cefn, i geisio dwyn ei Duw ( sef eu golud) i mewn iw cîst. A phan gaffont ef vnwaith i mewn yno; â ymadawant ag ef yn hawdd dybygech chwi? na wnânt: nid ymedu dyn a'i Dduw er dim â ddigwyddo: efe â fwyttu fara pŷs, ac â ŷf ddiod succan, yn gynt nag y lleihao efe ddim ar ei Dduw. Am hynny y dywed yr Scrythur: *Na fwytta fwyd y cenfigennus drwg ei lygad, ac na chwennych o'i ddanteithion ef: Canys megis pe meddyliei efe felly yn ei galon y dywed efe wrthit: bwytta ac yf, a'i galon heb fod gyd â thi: y tammaid â fwytteaist, a fwri di i fynu, a'th eiriau melus a golli di.* Yr hên ddihareb yw, fod y cybudd yn dwyn eisieu, yn gystal y peth sydd ganddo, a'r peth nid yw ganddo; o herwydd ni chymmer wrth ei gyfraid, o'r hyn sydd ganddo. Ac wrth hyn chwi â welwch, fod llawer o nerth, a grym cybydd-dod yn sefyll mewn crintachrwydd yn yr eiddom ein hunain.

Dihar. 23. 6, 7, 8.

*Antil.* Er hynny y mae yn rhaid i ddynion fod yn ofalus, ac yn ddyfal ynghylch eu gorchwylion bydol, a bwriadu byw. Y byd sy galed ac nid hawdd yw ymdaro. Yr hwn nid

lrycho yn fanwl am drîn y byd, drwy fod
n bryssur yn ei waith, ai orchwyl, â ddi-
hon fyned i gardotta, neu farw o new-
n, am a wn i.

*Theol.* Nid wyf fi yn gwadu, nas gell-
ch, ie nas dylech fod yn ddiwid yn eich
waith, a'ch gorchwyl; drwy gmmeryd
ynny yn ofn Duw, ac â chydwybod dda,
l y dywedais or blaen: eithr yr awydd
wnnw, ar chwannogrwydd, a'r gormod
rch i arian y mae Duw yn ei gondemnio.

*Antil.* Credwch fi nid adwaen i neb a'i
fâ. Nid wyfi yn gweled nad yw pawb
n caru aur, ac arian.

*Theol.* Un peth yw trîn, a mwynhau, ac
fer y pethau hyn, a pheth arall yw ei caru, a
osod ein calonnau arnynt: Canys yr Scry-
ur â ddywed: *Os cynnydda golud, na ro-* Psal. 62.
*dwch eich calon arno.* Ac *Joan* Sanct a ddy- 10.
ed: *Na cherwch y byd, na'r pethau sy yn y* 1 Joa. 2.
*d.* Nid yw efe yn dywedyd, na thrinwch, 15.
c arferwch y byd; ond, na cherwch y
d hwn: Canys ei drîn, a'i arfer sydd rydd, a
yfreithlon i ni; ond nid rhydd yw ei garu.
hyn y dywed yr Apostol: *Y rhai â arferant* 1 Cor. 7.
*byd hwn, byddant megis heb ei gam-arfer.* 31.
nniattau y mae yr Apostl arfer pethau y
d hwn yn fobr, ac yn gymmedrol ac yn
n Duw, eithr nid mewn modd amgen.
nghenrhaid sy yn gofyn gennym ei arfer,
egis yr ydym yn arfer bwyd a diod, a di-
llad:

llad : ond gwiliwn rhag cybyddu mwy na
a fyddo anghenrhaid, rhag gormodedd: dy
na fam y drŵg. Yr yspryd glan a ddywed
Heb. 13. 5. *Bydded eich y marweddiad yn ddiserch i arian*
*gan fod yn fodlon i'r hyn sydd gennych yn bre*
*sennol.* Gan hynny dedwydd yw'r neb a sy
ddo gwir fodlon i'w gyflwr presennol beth
bynnag fyddo; ac a ymddygo ynddo yn lla
wen, ac yn weddaidd. Oblegid yr yspryd
Preg. 2. 24. glan a ddywed : *Nid oes daioni mewn dy*
*oddieithr iddo fwytta, ac yfed, a pheri i'w e*
*naid gael daioni o'i lafur : hyn befyd â welais*
*i yn dyfod o law Dduw ei hun.* Yn y geiriau
hyn deall y Brenin doeth yw, mai dymma'r
holl ddaioni a allwn ni ei gyrhaeddyd yn y
byd; sef cymmeryd mwyniant cymmedrol
a chyssurol o bethau y bywyd ymma, y rhai
y mae Duw yn eu rhoddi i ni. Ac ym mhe-
llach y dywed mai rhodd ragorol gan Dduw
yw eu harfer yn weddol, ac yn gyssurus.
Gregor. Naz. Canys fel y dywed hên Athro. *Gwr synh*
*wyrol yw'r hwn ni thristeir o herwydd diffig p*
*pethau nid yw ganddo, ond a lawenycha yn y*
*pethau sydd ganddo; gan eu harfer i ogoniant*
*Duw, ac i'w gyssur ei hun.* Mal hyn y di
bennaf y pwngc hwn, ac yr attebaf i chwi
sef fod yn rhydd, ac yn gyfreithlon i ni
dwîn, ac arfer, a mwynhau aur, ac arian
a pethau bydol yn gymmesuraidd, y
gymmedrol, ac yn dduwiol; eithr er dim
na osodom serch ein calonnau arnynt.

*Anti*

*Antil.* Etto er hyn, nid wyfi yn gweled,
d yw y Pregethwyr, a'r Professwyr goreu,
gwŷr dyscedig, a'r crefyddol mor chw-
nog i'r byd, ac mor awyddus ag eraill.
*Theol.* Yn awr yr ydych yn dangos eich
pryd gŵenwynig yn erbyn gwell gwŷr
chwi eich hûn. Ac y mae gennif bed-
ar math ar atteb i chwi.
Yn gyntaf, er bod gŵyr duwiol yn my-
d tros y terfyn ffordd honno, ac ychydig
rhŷ danbed, ac awyddus i gasclu pe-
au bydol, etto nid ydynt yn torri allan
n belled mewn chwannogrwydd, ac mor
asus ag eraill.
Yn ail, os Duw a'u gedu hwynt arnynt
rhunain i'w gorchfygu gan y byd, etto efe
ei fawr ddoethineb, ai drugaredd a drŷ
cwbl er llesad, a daioni iddynt: Canys
lly, yn gyntaf, y darostwng efe hwynt,
wedi hynny, ai cyfyd i fynu drachefn.
felly pob peth sydd yn gweithio ir hyn
oreu i'r sawl a garant Dduw. *Rhuf.* 8.28.
Yn drydydd wrth athrawiaeth yr ydym
yn byw, ac nid wrth siamplau: Canys
mae diffygion, a gwendid yn y rhai go-
u o bobl Dduw:
Ac am hynny ni wasanaetha i ni gym-
ryd gwendid y rhai mwyaf eu rhinwedd-
, ac yn dwyn y rhagor mwyaf ym mhlîth
weision Duw, i fod yn rheol, yn drefn,
yn batrwm i ni, i fyw wrthynt, Drygio-
nus

nus gan hynny, ac annuwiol yw eu d
hwynt y rhai a honnant, ac a gymmer
odineb Dafydd, meddwdod Lot, cwym
Petr, tramgwydd Abraham, Gwendid S
lomon, &c. yn ymguddfa, yn escus, ac yn
ddeffynsa iddynt eu hunain, am y cyffe
feiau, a phechodau, fel pe bai rŷdd iddy
bechu fel hwythau. Yn ddiwaethaf, fy a
teb i chwi yw hyn, fod eich ymadrodd ei
hûn yn gwaethygu ar eich matter; cyn b
lled ydych oddiwrth wellhau dim arno
eich geiriau. Oblegid os pregethwyr,
gwŷr duwiol eraill ( yn ôl arfer gw
ddiau lawer, yn ôl dagrau; a chyfry
gau addas eraill) ni allant ddiangc
ddifriw nas clwyfer hwy weithiau, ac n
lliafer yn dôst gan y byd, ar cythraul: beth
ddaw o honoch chwi, y rhai nid ydych yn
morol am ddim cyfryngau, nac yn hyb
dim ar y gelyn, ond yn ymroi iddo
rhwydd, ac yn ddiymdrech? Os y Cythra
a orchfygodd Ddafydd, a Lot, a Sampson
Salomon, ar cyfryw wŷr Cedyrn nerth
beth a dderfydd i'r rhai llwyr fydol, a D
dduw? Os y gwŷr gwrolaf mewn rhyfel,
Capteniaid pennaf a syrthiant, beth a dda
o'r ciwdawd-wyr llesc, a digalon? Ac fel
1 Pet. 4. 18. dywed S. Petr: *Os prin y bydd y cyfia*
*cadwedig, pa le yr ymddengys y drygionus*
*annuwiol?* Felly mi a'ch cymmeraf c
ar adfias, ac a drôf eich arf yn eich er

ei

eich hûn, Oni ddichon gŵyr duwiol ddiangc drwy'r byd heb ddyrnodiau, a chleisiau, a briwiau, beth a ddaw or rhai ni wyddant beth yw duwioldeb?

*Antil.* Dywedyd yr wyfi etto, fod yn rhaid i ddynion fyw, ac ymdaro ar byd. Ni allwn ni fyw wrth yr Scrythyrau. Ac am y peth a elwch chwi cybydd-dod, nid yw ddim amgen ond cynnildeb.

*Theol.* Mi a dybiais y ceid allan or diwedd. Yn awr y talasoch iddo hyd adref. Chwi a ddaethoch i'ch hên helynt, ac megis y scyfarnog i'w hên wâl ac iw hên berth. Oblegid dymma loches, a chatberth y byd, lle y mynnai lawer guddio cybydd-dod. Ond myfi a wnaf fyngoreu ar eich ymlid chwi allan o honaw ar Scrythyrau.

Yn gyntaf *Salomon* a ddywed: *Rhyw vn â arbed ei dda, ac â ddaw i dlodi.* Felly cybydd-dod a ddŵg dlodi weithiau. O hynny yr ymresymmaf fel hyn. Y peth a ddygo dlodi nid yw gynnildeb, eithr cybydd-dod, a chrintachrwydd a ddŵg dlodi, am hynny nid yw cybydd-dod yn gynnildeb. Diha. 11. 24.

Yr vn *Salomon* a ddywed: *Y neb sydd ai fryd ar gasclu a flina ei dŷ ei hûn*: hynny yw, y cybudd sydd achos llawer o flinder, ac o ddrygau yn ei stat, ai deulu. Or Scrythur hon yr ymresymmaf fel hyn. Y peth a flina dŷ gŵr ei hun, nid yw gynnildeb: eithr cybydd-dod a flina dŷ gŵr ei hûn, am Diha. 15. 27.

hynny

hynny nid yw cybydd-dod yn gynnildeb
Yn ddiweddaf oll, yr hên ddihareb â ddywed. *Cybydd-dod ni ddwg ddim adref*, am hynny nid yw cybydd-dod yn gynnildeb. Oblegid ryni â welwn fod dynion o wir awydd i geisio cyrhaeddyd ychwaneg, yn colli yr hyn, oni bai y chwannogrwydd hwnnw, â allasent ei gael.

*Hesiod.* Gŵr doeth Cenedlig â ddywed: *Cyn-ddrwg yw drwg elw a cholled*: Eithr y cybudd sydd yn ymgyrhaeddyd am elw drwg, ac am hynny yn ymgyrhaeddyd am golled, ac o hynny nid yw gynnildeb.

*Phocilides* Un arall â ddywed: *Elw anghyfiawn â ddwg golled a thrueni*, ac am hynny digon pell yw oddiwrth gynnildeb, ac ysmonaeth dda.

Mal hyn gobeithio yr wyf eich bod yn cael y fâth ymlid arnoch, gan Dduw, a dynion, ac na ddichon y gatberth hon eich cuddio. Ac am hynny ceisiwch ddiangc allan o honi, ac ymwrandewch am ryw loches arall, Canys ni thyccia hon i chwi.

*Phila.* Yr awr hon y cauasoch ei fasn ef, ac ai hymlidiasoch allan o'i dwll: A gwir a ddywedwch, sef i'r Cenedloedd digrêd gondemnio cybydd-dod, a phôb elw anghyfiawn a arferir, ac a amddeffynnir yn ein plith ni: ac hwy a gyfodant i'n herbyn yn y farn. Eithr bellach ymadawn a'r

cyn

cynnen-wr ymma, ac awn rhagom: ond y mae vn peth yn ôl etto, am yr hwn yr ewyllysiwn gael fy modloni, sef pa gyffyriau, neu feddiginiaeth, oreu yn erbyn cybydd-dod.

*Theol.* Y mae dau fâth ar feddiginiaeth nodedig yn erbyn cybydd-dod :nid amgen.

1. Bodlonrhwydd.

2. Ystyriaeth o ragddarparwch Duw.

*Phila.* Moeswch glywed am fodlonrhwydd, allan or Scrythyrau, beth â ddywed yr ysprŷd glân.

*Theol.* Yr Apostol â ddywed. *O chawn ymborth, a dillad, ni a ymfodlonwn ar hynny:* 1 Tim 6.
*Canys ni ddugasom ni ddim i'r byd, a diogel* 6, 7, 8.
*yw na allwn ddwyn dim ymmaith.* Hetyd yr ysprŷd glan a ddywed: *Bydded eich ym-* Heb. 13.
*arweddiad yn ddiserch i arian, gan fod yn fod-* 5.
*lon i'r hyn sydd gennych yn bresennol.* Drachefn yr Apostl a ddywed: *Ddyscu o honaw* Phil. 4. 11
*ef ym mhâ gyflwr bynnag y byddei, ymfodloni ag ef* Deliwch sulw ar y peth a ddywaid, sef ddyscu o'honaw; canys ni fedrei efe o honaw ei hûn ymfodloni. Oblegid rhôdd ragorawl oddiwrth Dduw yw bodlonrhwydd: fel y mae yn scritennedig: *Y cyfiawn â fwyta hyd oni ddigonir ef, eithr bol yr an-* Dihar. 13.
*nuwiol fydd mewn eisieu.* Fe ddywed vn o hên 25.
Dadau yr eglwys. *Nyni â ddylem ymarfer o* Cyril. in
*fyw ar ychydig, ac ymfodloni a hynny; fel na* Jo. 12.
*wnelom ddim yn ddrygionus, neu yn aflan,*

*er mwyn budd.* Un aralla ddywed: *Nid yw efe dlawdyr hwn nid oes dim ganddo, eithr yr hwn sydd yn chwennych llawer: Ac nid yw efe gyfoethog, yr hwn a feddianno lawer, ond yr hwn nid oes arno eisieu dim; canys ni bydd byth eisieu ar fodlonrhwydd. Nid oes dim gofid mewn prinder, oddieithr lle y byddo chwant annigonol i gael ychwaneg. O byddwn byw yn ôl rheol naturiaeth, ni byddwn byth yn dlodion; os yn ôl ein trachwant, ni byddwn ni byth cyfoethogion.*

Chrysost Hom. 52.

Da y dywed y Poet. *Nac ymgyfoethogwch drwy anghyfiawnder, ond drwy uniondeb: ymfodlona a'r eiddot dy hun: ac ymgadw oddiwrth eiddo eraill.* Mal hyn nyni a welwn fod, nid yn vnig Duw ei hun yr hwn yw ffynnon yr holl ddoethineb, ond dynion hefyd, yn gystal rhai digred tan naturiaeth, a chredadwy tan râs, o vn frŷd yn cynghori i ni ymorchestu, a gwneuthur egni i geisio cyrrhaedd bodlonrhwydd: Ac yno y dichon fod gennym gyffyr meddiginiaeth godidawg yn erbyn cybydd-dra.

Euripid.

*Phila.* Moeswch glywed rhyw-beth am yr ail math ar ymwared yn erbyn cybydddod.

*Theol.* Yr ail yw difrifol ystyriaeth am ragddarbodaeth Duw. Ar cyphyr hwn sydd gymmorthwiachusawl yn erbyn ansynhwyrol, a gofidus ofalon am y bywyd ymma. Oblegid pe baem ni yn synnied yn ddyledus

o ymgeleddus ragddanbodaeth Duw tu ag
at ei blant, ym mhôb oes, o ran eu hym-
borth a'u dillad; ac mor rhyfeddol y dar-
parodd efe iddynt eu hangenrheidiau, di-
gon fyddei hynny i amlygu, ac i argyoeddi
y mallhaint hwn, ac i osod o'n blaen fodd
a chyfrwng difethedig i'n cadw rhag cy-
bydd-dod. Darllain yr ydym mor rhyfe-
ddol y darparodd Duw fôdd i achub ei
Brophwyd *Eliah*, yn amser y drudaniaeth
tramawr, ar sychder a-oedd yn *Israel*. Oni
orchymynnodd yr Arglwydd i'r cigfrain ei
borthi ef wrth yr afon Cerith? Oni ddûg
y cigfrain iddo fara a chîg y boreu, a bara a 1 Bren.
chîg brydnawn, ac ynteu a yfodd or afon? 17.

I ba beth y mynegwn pa fodd dieithrol y
rhag-ddarbododd Duw tros *Hagar* a'i
phlentyn, pan droed hwy ill dau allan o dŷ
*Abraham*, ac y syrthiasant i galedi mawr,
nes eu bod ill dau ym mron trengu o ddiffyg
ymborth? Oni chymmorthodd Duw hwynt Gen. 21
wrth raid, fel y byddei gynnefin bod am- 15,17.
ser? oni ddanfonodd Duw ei Angel attynt,
nid yn vnig iw cysuro, eithr i'w dianghenu
hefyd?

I ba beth y soniwn mor ymgeleddus y
gwnaeth Duw ddarparwch tros ei eglwys
yn yr anialwch: Oni phorthodd efe ei bobl
â manna or nefoedd, ac oni roddes iddynt
ddwfr or graig iw yfed? Oni wnaeth ein Exod. 1
Tad nefol lawer o addewidion haelionus, a 15:

helaeth, y paratoei efe bethau angenrheidiol iw blant? Oni * choeliwn y bydd efe yn gystal ai air? Onid yw efe yn dwedyd: *Y mae eisieu, a newyn ar y llewod, a'r sawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisieu dim daioni.* Onid yw efe yn dywedyd: *Ofnwch ef ei holl saint, oblegid nid oes eisieu ar y sawl a'i hofnant ef.* Oni ddywed efe: *Ni attal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn union.* Oni ddywaid efe: *Ein Tâd nefol â ŵyr fod arnom eisieu y pethau hyn: ac y rhoddir yr holl bethau hyn i ni yn y chwaneg, os ni â geisiwn ei deyrnas ef.* Onid yw efe yn erchi i ni, *Bwrw ein holl ofal arno ef, Canys y mae efe yn gofalu drosom?* Onid yw efe yn gorchymyn i ni? *Na ofelwch pa beth a fwytaech, neu pa beth a yfoch, nac a pha beth yr ymddilladech?* Ac lle y mae ein Achubwr yn gwahardd gofalu, deall y mae efe am y cyfryw ofal, ac sydd yn pendafadu synwyr dyn, ac yn peri iddo anobeithio, ac anffyddio yn Nuw, fel na ofalom felly. Onid yw efe yn dywedyd? *Ni phallaf i ti, ac nis gadawaf di chwaith.* Onid yw efe yn dywedyd, *Y mae yr Arglwydd yn agos; na ofelwch am ddim?* Onid yw ddigon yr addewidion hyn i gynnal ein ffydd ni yn rhag ddarbodaeth Duw? A dybiwn ni fod Duw yn cellwair â ni? A dybiwn ni nad yw efe yn bwriadu y fâth beth? A ammheuwn ni y ceidw Duw ei air? Oh cabledd

* Chredwn.
Psal. 34. 10.
Psal. 84. 11.
Mat. 6. 33.
1 Peter 5. 7.
Luc. 12. 22.
Heb. 13. 5.
Phil. 4. 5.

ledd fyddei vnwaith feddwl y ſâth bέth. *Oblegid Duw ſydd eir-wir, a phob dyn yn gel-* Heb. 10.
*wyddog. Ffyddlon yw'r hwn â addawodd.* 23.
Ei air ef ſydd fwy nac addewid Tywyſog, a mwy na deng-mîl o rwymedigaethau. Paham nad ydym yn credu ynddo, ac yn rhoddi ein gogłud arno? Paham na chymmerwn ei air ef? Paham yr ydym yn parhau i fod yn chwannog? ac yn anffyddio iddo? Paham yr ydym yn rhagrithio ac yn twyllo, Oh nyni ò ychydig ffydd? Ein Harglwydd Jeſu Griſt, oblegid ei fod yn llwyr-ddirnad anghredin iaeth, ac anffyddlondeb ein naturiaeth ni, ac yn gweled ddyfned y gwreiddiodd hyn ynom, ſydd nid yn vnig yn fodlon i wneuthur i ni yr addewidion haelwych hyn, y rhai â fyddei ddigon, ond hefyd yn cadarnhau i ni y pethau hyn, a llawer o reſymmau hygoel i gynnal ein gwendid ni yn hyn o beth.
*Yſtyriwch (medd eſe) y cig frain: yſtyriwch* Luke 12.
*adar yr awyr, nid ydynt nac yn hau, nac yn* 24 27
*medi, ac nid oes iddynt na chell, nac yſcubor, ac y mae Duw yn eu porthi hwynt. Yſtyriwch y lili, y modd y maent yn tyfu, nid ydynt yn poeni, nac yn nyddu, ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, na bu* Salomon *yn ei holl ogoniant, wedi ei ddilladu fel vn or rhai hyn.*

O nad yſtyriem ni yr yſtyriaethau hyn; nad yſtyriem fod y bywyd yn fwy na'r

bwyd, a'n cyrph yn well na'n dillad: nad ystyriem na allwn drwy ein holl ddirfawr osalu dyccio dim, ie gymmaint ac anchwanegu vn cufydd at ein maintioli. Yn wir pe dwys ystyriem ni y rhesymmau hyn, a draethodd ein Achubwr Crist; ac pe cymmwysem hwynt attom ein hunain, hwy a allent wasanaethu i ni yn amddeffynfa gadarn-gref yn erbyn cybydd dra. Ped ystyriei ddynion fod Ardderchog frenin y nefoedd (yr hwn sydd ai ffordd yn
Nah. 1. 3. y corwynt, a'r cymylau ydynt lŵch ei draed ef) yn gofalu am y dryw bychan, ac am aderyn y tô, ai fod efe yn eu trîn, ac yn eu hymgeleddu hwynt, gan baratoi iddynt eu lluniaeth beunydd, sef eu cinio, a'u prydnawn-fwyd, a'u swpper bob dydd, fe wasanaethi hynny i argyoeddi ein anhyder, a'n gwan-ymddiried ni yn Nuw. Canys pwy erioed a welodd y rhai hyn, neu'r cyfryw adar eraill, yn meirw o newyn? y fath Dad, a thadmaeth daionus sydd ganddynt.

Ac onid ydym ni yn well o lawer na hwynthwy? Onid oes gan Dduw fwy gofal am danom ni, nac am danynt hwy? Oes yn wir gan mîl mwy. Oblegid efe a'i car hwy er ein mwyn ni yn vnig. Pa faint mwy o lawer y car efe nyni? Am hynny dywedyd yr wyf drachefn a thrachefn, ped ystyriem ni y pethau hyn, a phe gosodem hwynt at ein calonnau, e fyddei hynny ddi-

ddigon i yssigo cybydd-dod yn ei ben, ac iw yrru yn llwyr allan o'n calonnau.

Moeswch i ni ystyried, pa wedd y rhagddarbododd Duw tros ddyn, cyn etto bod dŷn. Pa faint hytrach y gofala efe yr awrhon tros ddŷn, ac yntau yn bôd.

A yw efe yn Dâd i ni, ac oni ofala trosom: oni ddarpara i ni ein cyfraid? Ai efe yw ein Brenin, ac oni wna gyfrif o honom? Ai efe yw ein bugail, ac oni arei-lia efe ni? Ai i ni y darparodd efe y nefoedd, ac oni ddyry efe y ddaiar? A roddes efe ei fab Crist, ac oni rydd efe i ni bob peth gyd ag ef? A yw ei ragddarbodaeth ef yn cyrrhaeddyd tros ei elynion; ac oni ddarpara efe tros ei garedigion? A ddyry efe eu cyfraid i butteinwyr, ac a esceulusa efe ei etholedigion? A yw efe yn peri i'r glaw ddescyn, ac i'r haul lewyrchu ar yr anghyfiawn, ac oni wna efe hynny ar y cyfiawn? A ragddarboda efe dros ddieithraid, ac estroniaid; ac oni ddarpara efe tros ei deulu: A bortha gŵr ei fôch, ac oni ofala tros ei weinidogion: Neu a ofala efe dros ei weinidogion, ac oni ofala tros ei blant?

Gan hynny moeswch i ni ystyried y rhesymmau hyn. Cofiwn fod ein Tad nefol yn cymmeryd cymmaint gofal am gynhaliaeth ei greaduriaid, ac a gymmerodd efe

gynt am eu creadwriaeth. Gadewch i ni gofio nad yw ein bywyd yn sefyll yn y pethau hyn, ond yn rhagluniaeth Duw.

Cofiwn fod yr hwn sy yn rhoddi y diwrnod, yn paratoi angenrheidiau y diwrnod.

Cofiwn fod Duw yn rhoddi bob amser er ymborth, ac nid i ormodedd.

Cofiwn na *newyna Duw eneidiau y cyfiawn.* Dihar.10 3.

Cofiwn na phallodd Duw erioed i'r eiddo e hûn: Canys pwy erioed â ymddiriedodd yn yr Aglwydd, ac â wradwyddwyd?

*Phila* Paham y mae llawer yn dwyn eisieu pethau bydol, beth yw'r achos o hynny?

*Theol.* Yr achos sydd *o honynt eu hunain, am fod arnynt ddiffyg ffydd: Canys pe bai gennym ffydd, ni allei fod arnom ddim diffyg. Oblegid nid yw ffydd (medd hên Athro) yn ofni na newyn, na phrinder. Athro arall a ddywed: *Gan fod pob peth yn eiddo Duw, y neb sydd a Duw ganddo, nid all hwnnw ddwyn diffyg o ddim, oddieithr iddo ef ei hun gilio oddiwrth Dduw.* Am hynny bod Duw gennym, yw bod pob peth gennym. Oblegid o chawn ef ar ein plaid e sydd gennym ddigon: nid rhaid i ni fyned ym mhellach: Canys efe a bair i ddynion fod ar ein rhan; Ie i'r Angelion, ar creaduriaid oll fod yn wasanaethgar i ni. Efe a rydd iddynt orchymmyn enwedigol i ymorol am danom, ac i'n ymddeffyn

* *Neu, oddiwrthynt.*

ddeffyn, ac i ddangos i ni vfyddgarwch diballedig.

Am hynny gwnawn Dduw ar ein plaid, ac yno y gwnaethom ar unwaith y cwbl ar a berthyn i'n daioni yn y byd yma, ac mewn byd fydd well. Eithr oni faif efe yn garedig gyda â ni: oni chawn ef ar ein tú: oni bydd efe yn gefn i ni yna ni wna dim arall ronyn llesâd i ni, ni thâl y cwbl nodwydd: Canys *Quid prodeſt ſi omnia habes, eum tamen qui omnia dedit non habeas.* Pa well yw er meddu pob peth, a bod heb yr hwn fydd awdur pob peth. Auſtin.

*Phila.* Gwir a ddywedwch' chwi. Oblegid ni â welwn lawer o ddynion a chanddynt helaethrwydd o bethau bydol, eithr o herwydd nad yw Duw ganddynt, nid oes dim gwir gyffur oddiwrthynt, na bendith arnynt.

*Theol.* Gwir vnion. Oblegid *nid wrth fara yn vnig, y bydd byw dyn* (medd ein Harglwydd Iesu) *Onid wrth bob gair â ddaw o enau Duw.* Drachefn y dywed: Er bod gan ddyn helaethrwydd, etto nid *yw ei fywyd ef yn ſefyll yn y pethau ſy ganddo.* Oblegid heb gael bendith oddiwrth Dduw, ni ddichon bod gan neb wir gyffur mewn dim oll ar â feddo. Nyni â welwn beunydd wrth brawf, a chydnabyddiaeth fod yr Arglwydd yn melldithio y drygionus, er bod ganddynt helaethrwydd: Rhai â chanddynt Matth. 4. Luc. 12. 15.

EY-

gyflawnder, a gyftuddir yn oeftadol a chle-
fydau. Rhai ynghanol eu digonoldeb, a
Ilfant ymmaith gan ddarfodedigaeth. Era-
ill yn eu hamldra, a'u gormodedd ydynt yn
meirw o lothineb. Eraill a gippir ymaith
yn gynnar o'u hoes, drwy farwolaeth ddi-
fyfyd, pan fyddo mwyaf eu rhodres. E-
raill a oddefant golledion trymmion ar fôr
ac ar dîr. Eraill a gant flinder, a thrallod
gan wragedd anynad, a drwg nawfus, a
chan blant anufyddion. Rhai a wnant
lofruddiaeth, a theyrn-frad, ac a gollant y
cwbl ar vnwaith. Eraill a ddihoenant, ac
a ddarfyddant gan ryw ddirgel aflwydd, a
melldith Dduw, ni ŵyr neb pa fodd. Rhai
a chanddynt gyfoeth mawr, a fyrthiant yn
nwylo y llofrudd: Rhai tan law y lleidr,
eraill ym meddiant y gwen-wynŵr.

Preg. 5. 13. Am hynny y dywed y Brenin doeth, y mae *trueni a welais tan yr haul, cyfoeth wedi eu cadw yn niwed iw perchennog:* Zophar hefyd y Naamathiad a ddywed: *Pan gyflawner digonoldeb yr annuwiol cyfyng fydd arno: llaw pob blinderog â ddaw yn ei erbyn ef:*

Iob. 20. 22, 23. *pan fyddo efe ar lenwi ei fol, Duw a ddenfyn yn ei erbyn ef angerdd ei ddigofaint, ac ai glawia hi arno ef, ym mysc ei fwyd ef.*

Felly ni a welwn yn eglur nad yw bywyd dyn, ai lwyddiant yn y byd yn fefyll ar amldra, a helaethrwydd o bethau bydol; eithr yn vnig ar fendith, a rhagddarbodaeth.

daeth Duw: *Canys ei fendith ef yn unig sy yn cyfoethogi, ac nid yw yn dwyn tristid gyd ag ef.* Oblegid, *gwell yw prinder y cyfiawn, na mawr olud yr annuwolion cedyrn. Gwell yw ychydig gyd ag ofn yr Arglwydd, na thryssor mawr, a blinder gydag ef. Gwell yw ychydig drwy gyfiawnder na chnwd mawr drwy gam.* Diha. 15. 22. Psal. 37. 16. Diha. 15. 16. ac. 16. 8.

Gan hynny fel hyn y pen-glymmaf y pwngc hwn: Nid wrth fara y bydd byw dyn, ond wrth fendith ar y bara: Nid trwy foddion cnolig, a chyfryngau bydol, ond drwy fendith ar y moddion, a'r cyfryngau: Canys pa fodd y dichon bara, gan nad yw ond peth marw, ac heb fywyd ynddo ei hun, roddi bywyd i eraill.

*Phila.* Nid wyf fi yn deall ystyriaeth y geiriau hyn: sef drwy bob gair a ddaw o enau Duw.

*Theol.* Wrth hyn (sef pob gair) y dellir gorchymyn, ordinhad, a rhag-ddarbodaeth Duw, yr hwn sydd yn cynnal pob peth sef holl drefn naturiaeth.

Canys yr Scrythur a ddywed: *Efe â ddywedodd, ac felly y bu: efe â orchymynnodd, a hynny a safodd.* Yn y geiriau hyn ni a welwn yn amlwg, nad ydyw Duw ond dywedyd, a hynny sy'n sefyll: Efe a orchymmyn, a'r holl greaduriaid a gynnelir. Oblegid ai air y mae Duw yn gwneuthur pob peth. Ai air y creawdd efe y cwbl, Psal. 33. 9.

a i

a'i air y cynnal efe y cwbl: Dywedyd y mae efe, a hynny â saif, felly y derfydd. Ei eiriau ef ydynt eiriau o allu, ac awdurdod. Beth bynnac â ddywedo, beth bynnac â alwo am dano, rhaid yw ei wneuthur yn ebrwydd, ac yn ddioed: Nid gwiw sefyll yn ei erbyn ef. Efe â eilw am newyn, ac wele newyn. Efe â eilw am helaethrwydd, ac wele helaethrwydd. Efe â eilw am haint y nodeu, ac wele y nodeu. Efe â eilw am gleddyf, ac wele gleddyf. Yr holl Angelion, yr holl ddynion, yr holl anifeiliaid, yr holl byscod, yr holl ehediaid, yr holl greaduriaid pa ryw bynnag ydynt, â vfyddhânt iddo, ac ydynt wrth ei amnaid ef. Efe yw y Pen *Rheolwr*. Ei air ef sydd yn gorchymmyn y nefoedd, ar ddaiar, a'r môr. Y mae yn rhaid ir holl greaduriaid vfyddhau i'w ewyllys ac ymostwng iw ordinhâd.

Dymma'r achos y mae pob peth yn y nefoedd, ar y ddaiar, ac yn y môr yn cadw eu trefn, eu prydiau, au tymhorau yn anghyfnewidiol, ac yn ddianwadal, sef o herwydd iddo ef orchymmyn iddynt wneuthur hynny. Ac y mae yn angenrhaid iddynt beunydd bob amser, byth ac yn dragwyddol vfyddhau: Canys y mae yn rhaid ir Creaduriaid vfyddhau i'r Creawdudd, Yr Act hwn o *Barliament* â wnaed yr wrthnos gyntaf or byd ac ni allwyd erioed etto ac nis gellir ei droi yn ôl nai ddirymmu.

*Phil.*

*Phila.* Eithr i'ch galw chwi yn ôl etto, at y pwngc â oedd gennym yn llaw, yspyswch i mi hyn, attolwg, onid oes lawer o anwyl blant Duw yn fynych, yn y byd ymma, yn dwyn eisieu pethau bydol, ac yn dioddef cysyngdra, a chaledi tramawr?

*Theol.* Oes yn wir. Canys Elias â ddûg eisieu, ac â fu mewn caledi. *Paul* a fu mewn diffyg, ac mewn llawer o gysyngderau. Y Cristianogion duwiol â grybwyllir at yr Hebreaid, â ddugont eisieu, ac â gystuddiwyd yn rhysedd: Llawer o garedigion Duw ym mhôb oes, â fuont mewn eisieu, ac ydynt yn y ddydiau hyn mewn diffygion, a chaledi tramawr. Eithr hyn sydd wirionedd anhybus, a disiommedig, pa fodd bynnac y digwyddo fod caledi, a diffyg, a chysyngder ar blant Duw, etto býth nis llwyr-wrthodir hwynt; ond pan fyddo cysyngaf arnynt, hwy â gânt gymmorth a diddanwch, ac ymwared, yn eu peryglon mwyaf, pan fyddo pob peth wedi myned hyd yr eithaf; ac yngolwg y byd ar y gwaethaf.

1 Bren. 17.
2 Cor. 8.
2 Cor. 25.
Heb. 11. 36.

I'r ystyriaeth yma odiaeth y dywed yr Apostol: *Ym mhôb man i'n cystuddir, etto nid ydym mewn ing, y mae yn gaeth arnom, ond nid ydym gwbl heb obaith: wedi ein herlid, ac heb ein gwrthod: Wedi ein taflu i lawr, ac heb ein difetha.* Y prophwyd Ieremi hefyd â ddywed: *Nid yn dragywydd*

2 Cor. 4. 8, 9.

Galar. 3. *y gwrthid yr Arglwydd : Canys er iddo gy-*
31, 32, *studdio, efe â dosturia eilwaith yn ôl amlder*
33. *ei drugaredd. Nid o'i fodd y cystuddia efe,*
*nac y blina efe ddynion.* Y Brenhinol Bro-
Psal. 94. phwyd a ddywed *: Canys ni âd yr Arglwydd*
14. *ei bobl, ac ni wrthid efe ei etifeddiaeth.* Yr
Esay 54. Arglwydd ei hun a ddywed *: Dros ennyd fe-*
*chan yn fy nigofaint y cuddiais fy wyneb rha-*
*got, ond â thragwyddol drugaredd y tosturi-*
*ais wrthit.* Wrth hyn digon diogel, a siccr y gallwn ni fod, ie ac scrifennu o honaw (megis o wirionedd diammeu, ac ansiommedig) na lwyr-wrthodir byth blant Duw yn eu trallod, au blinderau.

*Phila.* Gan fod gofal, a rhagddarbodaeth Duw dros ei blant yn gymmaint ac y mynegasoch chwi yn helaeth : beth, adolwyn, yw yr achos sy'n peri i Dduw adael dwyn yr eiddo ef i gynnifer o flinderau, ac anghenion ?

*Theol.* Yr achos yw eu budd, ai daioni hwynt eu hunain, ac nid i wneuthur iddynt niwed. Oblegid pan yw efe yn eu curo, yna y mae yn eu caru : Pan dybygid ei fod dostafyn ei herbyn, yna y mae efe yn dangos iddynt fwyaf caredigrwydd, a ffafor. Amcana dda pan dybier ei ddigio wrthynt. Efe a'i clwyfa, fel y caffo achlyssur iw iachau : ai gwasc, fel y gallo esmwythau arnynt : a bar iddynt lefain, fel y gallont wedi hynny chwerthin : Bob amser y bw-

riada

riada efe iddynt ddaioni, ac nid drwg yn amser: Dianwadal yw ynei gariad tu ag attynt: Os dŵg arnynt anghenion, eu dwyn â wna er prawf ar eu ffydd, eu cariad, eu dioddefgarwch, a'u dyfalwch mewn gweddi.

Os yn tân y bwrw efe hwynt, nid i'w difa, ond iw coethi, ac iw puro y gwna efe hynny. Os dŵg arnynt beryglon tramawr, efe a'u dŵg er mwyn peri iddynt alw arno yn daerach am gymmorth, ac ymwared.

Efe a wâsc arnom i beri i ni lefain: Ninnau yn ein blinder a lefwn, i beri ein gwrando: ynteu a'n gwrendu fel i'n gwareder: felly yn hyn nid oes dim niwed. Mwy yw'r braw na'r briw.

Megis y bydd mam, pan fai ei phlentyn yn anynad, yn bygwth ei daflu ef i'r blaidd, neu yn ei ddychrynu ef a bwbach, i beri iddo ddistewi, a glynu yn dynnach wrthi: Felly y mae yr Arglwydd yn dangos i ni, yn fynych guchiau ofnadwy blinder, ac enbydrwydd, i'n cyffroi, ac i'n cynnyrfu i ddal ein gafael yn dynnach ynddo: ac i ddyscu i ni wneuthur mwy cyfrif o'i fendithion ef, a bod yn fwy diolchgar am danynt pan gaffom eu mwynhau, sef iechyd, cyfoeth, heddwch, rhydddid, ar cyffelyb. Felly nyni â welwn nad oes amgen bwriad, ac amcan tu ag attom, o ran Duw, ond ar ddaioni: fel y mae yn scrifennedig, *Pob peth sydd yn cydweithio*

i'r

i'r *hyn goreu, i'r sawl a garant Dduw.* Ob-
Rhuf. 8. 28. legid hyd yn oed cystuddiau plant Duw â
Heb. 12. 10, 14. sancteiddir iddynt, drwy yr yspryd, iw
1 Thes. 4.6. gwneuthur, yn gyfrannogion o sanctei-
ddrwydd Duw.

Gal.6.14. *Drwy hynny y mwynhânt heddychol ffrwyth cyfiawnder. Drwy hynny y cyrhaeddant fesur*
Phil. 3. 10. *helaethach o lawenydd yn yr yspryd glân. Drwy hynny y croeshoelir y byd iddynt hwy, a hwythau*
1 Cor.xi 32. *i'r bŷd. Drwy hynny y cydffurfir hwynt â marwolaeth Christ. Drwy hynny y cedwir hwynt*
Rhuf.5. 3.4. *rhag damnedigaeth y byd Drwy hynny y dyscant * adnabyddiaeth, ammynedd, gobaith, &c.*
*Brofiad.
Felly wrth ystyried y cwbl, nid yw plant Duw yn colli dim (o'u cystuddio) ond yn hytrach yn ynnill, drwy ddwyn eu cystudd yn llawen. Gwell ar eu llês yw eu cael, na bod hebddynt. Oblegid pan gerydder plant Duw, yno y mae pethau fel y dylent fod.
*Blinder. Canys iddynt hwy y mae'r * groes yn drugaredd, a cholled yn elw. Cystudd yw eu dyscybliaeth, ac adfyd eu athrawiaeth goreu.

Psal. 119. 71. *Da yw i mi fynghystuddio* (medd sanctaidd ŵr Duw) *fel y dyscwn dy ddeddfau.* Wrth ei gystuddiau y dyscasei efe lawer, ac yr aethei yn ddiscybl hyfedr yn llyfr Duw, ac yn gyfarwydd yn ei destiolaethau, ai ddeddfau ef. Drwy ei geryddon, y cyrhaeddodd efe synwyr, a doethineb rhagorol. Drwy drugarog ragddarbodaeth Dduw, y trôdd pob peth i'w dragwyddol ddiddanwch ef.

Canys

Canys dywedyd yr wyf yn hŷf, ac yn hyderus, fod pob peth yn tynnu, ac yn tueddu i ddaioni, a llesâd i etholedig bobl Dduw. Ac am hynny y cyflwr â ewyllysio yr Arglwydd ddigwyddo i'w blant, hwnnw sydd bob amser yn orau ar eu llês. Oblegid efe yr hwn â fedr yn oreu ddirnad beth sydd orau, a wêl hynny yn oreu iddynt: pa vn bynnac ai clefyd, ai iechyd; ai prinder, a'i helaethrwydd; a'i carchar, ai rhydd-did; a'i gwynfyd a'i adfyd. Oblegid gwell ar ein llês ni weithiau yw clefyd, nac iechyd: A gwell yw prinder, nac ehangder.

Gan hynny, ai cleifion yw plant Duw? Dyna'r peth goreu ar eu llês. Ai tlodion ydynt? goreu iddynt hynny. Ai mewn rhyw drallod, a chyfyngder y maent? hynny sydd oreu iddynt. Oherwydd eu Tâd daionus a dry hynny i'r goreu. Efe an hattal ni rhag cael y peth â chwennychom i borthi ein trachwantau, oblegid ei fod yn rhag-weled y byddei hynny megis yn wenwyn i ni i'n drygu. Efe o'i Dadol ofal drosom a dynn y gyllell oddiwrthym, am ei fod yn gweled na fedrem ni ei thrin heb gael briw oddiwrthi. Efe a brinhâ ar ein iechyd, a'n cyfoeth, oblegid ei fod yn gwybod mai'r pethau hynny a'n drygei: Ni ddyry efe i ni ormod esmwythdra, a llwyddiant yn y byd ymma, oblegid

legid efe a wŷr mai hynny a'n gwenwynci. Ni channiatta efe i ni lonyddwch beunyddiol megis llynnoedd ſafadwy, digynnwrf rhag caſclu o honom ewyn, a budreddi. Efe a'n trîn ni yn Dadol, ac yn dolfuriol ym mhôb peth, ie hyd yn oed y pryd hynny yn darparu i ni y daioni mwyaf, pan dybygom ni ei fod efe yn gwneuthur fwyaf drŵg.

Ac i adrodd y cwbl ar vn gair: efe an dwg ni i drallod, a chyfyngder, er mwyn hyn yn bennaf; ſef fel y gallo gael clywed oddiwrthym. Canys hyſpys yr edwyn ein naturiaeth ni, a chydnabyddus yw a'n awenydd-fryd. Gwybod y mae na ddeuwn atto, oddieithr bod yn rhaid i ni wrtho, ac na wnawn gyfrif o honaw tra y y caffom ein byd wrth ein bodd; ond os daw arnom gyfyngder, neu ddiffyg o ddim ar a ddymunem ei gael, yna bydded ficcr, y caiff efe glywed oddiwrthym. Fel y dewaid efe ei
Hoſ. 5. 15. hûn drwy ei Brophwyd: *Pan fyddo adfyd iddynt, i'm boren geiſiant.* A Phrophwyd arall a ddywed: *Mewn adfyd, Arglwydd y'r ymwelſant a thî, tywalltaſant weddi pan oedd dy goſpedigaeth arnynt.* Eſay 26. 16.

Felly gobeithio eich bod bellach, yn gweled yn amlwg, am ba achos y mae Duw yn dwyn ei blant, i gynnifer o flinderau, ac anghenion.

Phila.

*Phila.* Mi a welaf hynny yn ddiau; ac am hyn o beth fo'm bodlonwyd yn ddigon da. Ond etto gadewch ofyn i chwi vn peth ymmhellach. Ai peth diammeu ydyw fod plant Duw yn cael eu gwaredu bob amser allan o'u blinderau ?

*Theol.* Ydynt yn wir, a hynny (yn ddiammeu) hyd y gwelo Duw fod hynny yn llesol iddynt. *Canys scrifennedig ydyw, Llawer o ddrygau a gaiff y cyfiawn, ond yr Arglwydd a'i gwared ef oddiwrthynt oll.* A St Petr a ddywed, *Yr Arglwydd a fedr achub y gwirioniaid oddiwrth brofedigaeth.* Megis pe dywedasai, y mae efe yn ymarfer a hynny ac yn gynnefin a chydnabyddus ar peth: Fel y dichon ei wneuthur yn hawdd, ac yn ddirwystr. Psal.34. 19. 2 Petr.2. 9.

Am *Ioseph* pan ydoedd yngharchar, y dywedir: *Yr amser y daeth ei air ef i ben, gair yr Arglwydd a'i profodd ef: Y Brenin a anfonodd, ac ai gollyngodd ef, a llywodraethwr y bobl ai rhyddhaodd ef.* Drachefn y dywed yr Scrythur: *Y rhai cyfiawn a lefasant, a'r Arglwydd a glybu, ac ai gwaredodd o'i holl drallodion. Angel yr Arglwydd a gastella o amgylch y rhai a'i hofnant ef, ac a'i gwared hwynt.* Ac mewn man arall y dywed yr Arglwydd am y cyfiawn: *Gwaredaf ef am roddi o honaw ei serch arnaf, derchafaf ef am adnabod o honaw fy enw: Efe a eilw arnaf, ac mi a'i gwrandawaf ef: Mewn ing y byddaf* Psa.105. 19,20. Psa.34.17 Ps.91.14 15.

gyd

*gyd ag ef, y gwaredaf ef, ac y gogoneddaf ef.*

Job. 5. 19. Felly y dywed *Eliphas* y Temathiad. *Mewn chwêch o gyfyngderau efe a'th achub di, ac yn y seithfed ni chyffwrdd drwg a thi.*

Esay. 26. 20. *Deuwch fy mhobl (medd yr Arglwydd:) Dos i'th stafelloedd a chae dy ddrysau ar dy ol: ymguddia dros ennyd fechan nes myned digofaint heibio.* Ar Prophwyd a ddywed:

Obad. 17. *Ar fynydd Sion y bydd ymwared, ac y bydd sancteiddrwydd: a thŷ Iacob â orescyn eu hetifeddiaethau hwynt.*

Llawer o fannau eraill or Scrythur lân â ellid eu dwyn i'r ystur hwn; eithr digon yw hyn.

Am hynny bydded hyspys i ni yn lle gwir, cyn siccred a bod trallod, a blinder i blant Duw; y bydd iddynt hefyd ymwared diammeu, a rhyddhâd allan o'u cystuddiau. Megis y gallwn yn hŷf scrifennu am y naill, a gwneuthur cyfrif o honaw cyn siccred a bod ein crysau am ein cefnau: Felly y gallwn hefyd, pan welo Duw fod yn dda scrifennu am y llall, a gwneuthur llawn gyfrif o honaw, cyn siccred a bod yr Arglwydd yn eir-wir. *Abraham* a fu mewn trallod, ond efe â waredwyd: *Job* mewn trallod, eithr â waredwyd: *Dafydd* mewn trallôd, eithr â waredwyd. Y tri llangc yn y ffwrn, eithr â waredwyd. *Daniel* yn ffau y llewod, eithr â waredwyd. *Jonas* ym mol y morfil,

ſil, eithr â waredwyd. *Paul* mewn anneirif o flinderau, ond etto â waredwyd oddiwrthynt oll.

*Phila.* Gan fod y pethau hyn oll a ddywedwch, yn wir, y mae yn canlyn mai er daioni iddynt eu hunain yn vnig, yr ydys yn cyſtuddio plant Duw, a bod yn ddiogel iddynt, gael ymwared yn ei amſer gosodedig. Yr hyn beth o herwydd ei fod yn digwyddo felly, i'm tŷb i nid oes dim achos iddynt i gymmeryd gormod trymder, na llyfrhau yn rhŷbell yn eu blinderau.

*Theol.* Diau nad oes dim or fâth achos, ond yn hyttrach i lawenychu, i guro dwylo ynghyd, a bod yn hyfryd ddiogel: Canys â ddichon tâd wrthod ei blant? Brenin ei ddeiliaid? Meiſter ei wâs? Bugail ei braidd? Onid yw yr *Arglwydd* yn dywedyd: *Nith adawaf, ac nith wrthodaf.* Heb.5.13

Oni wyr ein Tâd nefol fod yn rhaid i ni wrth y pethau hyn? Oni addawodd Duw ar ei air, na bydd arnom ddiffyg pethau bydol? oni ddywedodd efe y rhoddid y pethau hyn i ni yn ychwaneg? Paham gan hynny y llaeſwn? Paham y goſtyngwn ein pennau yn bruddion? Paham na chodwn ein calonnau, a bod yn llawen? Duw yw ein Tâd caredig: ein ymgeleddwr beunyddiol: ein cyfaill anwylaf: Efe a'n cynnal ni ar ei draul, ai gôſt ei hûn.

Nid

Nid yw efe yn grwgnach am ddim ar a gaffom: Ni thybia efe ddim yn rhy dda i ni. Ein caru y mae yn gû, ac yn anwyl. Ni all oddef ir gwynt chwythu arnom. Ni fyn efe i ni ddwyn eisieu dim â fyddo da ar ein llês. Pe bwyttaem aur â llwyau, nyni a'i caem ganddo. Efe â addawodd yn ffyddlon na bydd diffyg arnom tra fo'm byw. Byddwn gan hynny lawen, a hyfryd. Oblegid eiddom ni yw'r nefoedd, eiddom ni yw'r ddaiar, eiddom ni yw Duw, eiddom ni yw Crist, eiddom ni yw'r cwbl oll: megis y dywed yr Apostol: *Pob peth oll eiddo chwi yw,*
1 Cor. 3. 22. *a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw.* Y byd sy'n curo dwylo ac fel ceiliog yn canu ym mhell cyn dydd, gan ddywedyd, Pob peth oll, eiddom ni yw: eithr plant Duw â allan ddywedyd, a dywedyd y gwir, pob peth oll eiddom ni yw. Oblegid y mae ganddynt hwy hawl gyfiawn drwy Grist i'r holl greaduriaid. Eu braint hwy sydd helaeth, a'u rhydd-did sy fawr. Rhyddion ydynt ar y ddaiar, a rhyddion yn y nefoedd.

A hwynt hwy yn unig ydynt ddinasyddion rhyddion or byd. Crist a brynodd iddynt eu rhydd-did: Crist a'u rhyddhaodd, ac am hynny gwir ryddion ydynt. Rhyddion ydynt oddiwrth bechod, rhyddion oddiwrth uffern, a rhyddion oddiwrth damnedigaeth: Heddychol ydynt a Duw, a dynion, ac

ac ag Angelion. Heddychol a hwynt eu hunain, heddychol ar creaduriaid oll. Tywysogion ieuaingc ydynt, cyfeillion i Angelion, yn hanoedd or tŷ pennaf, o waed Brenhinol yn y nefoedd: Pendefigion o Baradwys, ac etifeddion ir goron dragwyddol. Am hynny y gorchymynnodd Duw ir Angelion eu hamddeffyn, a hwythau yn gyfryw dywysogion ac ydynt. Je efe a roddes orchymmyn caeth ir holl greaduriaid, ar eu gwarchadw, a gwilied arnynt rhag digwyddo iddynt niwed. Mor eiddigus yw o'u herwydd hwy, mor anwyl, mor gu ganddo hwynt. Rhaid ydoedd i'r Angelion ymgeleddu *Jacob*; I'r morfil achub Ionas: I'r cigfrain borthi *Elias*: I'r haul, ar lleuad aros am *Iosuah*: I'r môr ymwahanu fel y gallei *Moses* ai bobl fyned trwyddo. Y tân ni chai ddifa y tri llangc: Nar llewod ddifetha *Daniel*. Rhaid ir creaduriaid newidio eu naturiaeth yn hyttrach nag y byddau plant Duw heb gymmorth ac ymwared.

Gen. 32. Ionah 2. 1 Brenh. 17. Iof. 10. Exod. 14 Dan. 3. a'r 6.

Gan hynny pwy â ddichon adrodd faint yw dedwyddwch etholedigion Duw? Pwy a fedr ei fynegu? Nid adwaenant eu dedwyddwch eu hunain: Cuddiedig yw oddiwrthynt. Trallod fydd megis cwmmwl trosto, ac adfyd yn ei gyscodi: Blinderau au tywyllant, a chyfrwng osodiad y ddaiar sy'n attal eu golwg oddiwrtho, nad ydynt

yn

yn gweled tros amſer mor happus ydynt. Eithr hyn ſydd ddiddadl, a ſiccr ; fod cyflwr goreu plant Duw yn ôl etto, a'u hyfrydwch hwynt i ddyfod. Nid yw eu dedwyddwch yn ymddangos yn y byd ymma.

*Eu bywyd â guddiwyd gyd â Chriſt yn Nuw. Pan ymddangoſo Chriſt yr hwn yw eu*
Col. 3. 3. 4. *bywyd, yna yr ymddangoſant hwythau gyd ag ef mewn gogoniant. Nid ymddangoſodd*
1 Jo. 3. 2. *etto pa beth fyddwn, eithr gwyddom pan ymddangoſo, y byddwn gyffelyb iddo ef.*

Eu henwau â gymmerwyd euſys, ac â ſcrifennwyd yn llyfr y bywyd : ar y dydd a ddaw, hwy a goronir. Y mae dydd yn dyfod pan ddywedir wrthynt: *Deuwch chwi fendigedig blant fy Nhâd*, &c. a phan gaffont ddyfod, ac aros *yn ei wydd ef, lle y mae*
Pſal. 16. 11. *cyflawnder llawenydd, ac ger bron yr hwn y mae digrifwch yn dragywydd.*

Am hynny llawenychant, canant, ac ymhyfrydant pawb ôll o ddirgel-ddynion Duw. Oblegid pe rhôn a'u bod yn y byd yma yn ddirmygedig, megis rhai â ſethrid tan draed, ac a gyfrifid yn ſothach y ddaiar, ac yn ſorod y byd : etto y mae amſer yn dyfod pan fyddo eu dedwyddwch, a'u gwynfyd hwynt yn gyfryw, ac nad aeth, erioed y cyffelyb i galon dyn, anherſynol yw, anrhaethol, ac annealladwy.

*Phila.* Yr awr-hon mi â welaf yn amlwg nad oes achos i bobl Dduw i driſtâu gormod,

mod, a llaesu yn rhybell o herwydd eu blinderau. Mi â welaf, er nad ydynt ddiangol oddiwrth bob cystuddiau, eu bod er hynny yn ddiangol oddiwrth gystuddiau niweidus: Canys nid oes, na gwialen, na chroes, na cherydd â wna ddrŵg iddynt, ond y cwbl yn y diwedd â ddaw i ddiben, a therfyn gwynfydedig.

*Theol.* Chwi â adroddasoch y gwir yn helaeth, ac yn ddiammeu: Oblegid nid oes dim blinder â ddygo Duw ar ei bobl, ond (os dioddefant yn llonydd, ac ymddiried yn ddiyscog yn ei drugaredd ef, a bod yn ymarhous, ac yn vfydd iw ewyllys) y cyfryw ac â drŷ yn fendith, ac yn gyssur iddynt yn y diwedd.

Am hynny, hydda ddigon y geill pobl Dduw fod yn llawen ynghanol eu cystuddiau. Hwynt hwy â allant drwy ammynedd a chyssur ymddarostwng i geryddon eu Tâd, gan eu dwyn yn oddefgar, ac megis cussanu ei wialen ef, a dywedyd ynddynt eu hunain,

Gan fod fy Nhâd yn ewyllysio hynny, bodlon wyf finnau.

Gan mai hynny â fyn efe, hynny a fynnaf finnau. Fel y dywedodd yr hên Eli gynt: *Yr Arglwydd yw, gwnaed fel y gwelo yn dda.* 1 Sam. 3. 18.

Ac megis yn y cyffelyb ostyngeiddrwydd y dywedodd Dafydd mewn achos arall:

2 Sam. 15. 26. *Wele fi, gwnaed am fi fel y gwelo yn dda yn ei olwg ei hun.*

Ac mewn man arall y dywed: *Aethym yn fud, ac nid agorais fyngenau: Canys ti Arglwydd ai gwnaethost*, Psal. 39. 9.

Ystyriwch wrth hyn ddioddefgarwch saint Duw, a'u gostyngedig vfydd-dod iw sancteiddiaf ewyllys ef. Hwy â wyddant y diwedda pob peth i'r goreu, a chofio hynny sydd lawen gan eu calonnau. O hyn yr wyf fi yn bwrw mai dedwydd yw plant Duw ym mhâ gyflwr bynnag y byddont: dedwydd mewn tlodi, a dedwydd mewn changder: Dedwydd gartref, a dedwydd oddi cartref, ac ym mhôb modd yn ddedwydd. Eithr yngwrthwyneb i hyn, melldigedig yw'r drygionus ym mhâ gyflwr bynnac y byddont: melldigedig yn gleifion, a melldigedig yn iâch: Melldigedig mewn cyfoeth, a melldigedig mewn prinder: melldigedig mewn gwynfyd, a melldigedig mewn adfyd: melldigedig mewn anrhydedd, a melldigedig mewn gwaeledd.

Deut. 28. 3, 16.

Canys pob peth sy yn cydweithio er dialedd iddynt. Nid oes dim â wna lesâd iddynt. Nid ydynt ddim gwell er na thrugareddau Duw, nac er ei farnedigaethau: yr vn ffunyd iddynt hwy yw pob hîn.

Yr vn ydynt bob amser mewn gwynfyd, ac adfyd, ni newidiant eu harfer: ac fel

y

y dywedwn, nid yw blwyddyn dda yn gwellau, na blwyddyn ddrŵg yn gwaethygu dim arnynt.

*Phila.* Chwi a safasoch yn hîr ar y pwngc hwn: bellach ewch rhagoch at y pedwerydd arwydd o ddamnedigaeth dyn, yr hwn yw dirmig ar yr Efengyl. Ac eglurwch yn gŷstal pa bechod ei faint ydyw, a pha enbydrwydd sy oddiwrtho.

*Theol.* Y pechod hwn sydd o naturiaeth arall amgenach na'r hwn o'r blaen. Pechod yw hwn yn erbyn y dablen gyntaf, ac yn tuedd-bennu at Dduw ei hûn.

Oblegid dirmygu yr Efengyl yw dirmygu Duw ei hûn, eiddo yr hwn yw'r Efengyl.

Os dirmygu Gwenidogion yr Efengyl yw dirmygu Duw, a Christ, fel y dywed ein Harglwydd Jesu, pa faint mwy yw dirmygu yr Efengyl ei hun. Luk. 16.

Am hynny, peth peryglus yw ymgymmyrredd a'r pechod hwn: Megis trîn arfau llifed, neu fod yn bryssur ym matterion Brenhinoedd, neu gyffwrdd ag Arch y Cyfammod, neu nesshau at y mynydd sanctaidd: yr hyn bethau oll oeddynt yn llawn perigl, ac enbydrwydd; Je hyn syddei gymmaint â dibrisio y Sacrament: peth ni ddylid ymhel ag ef, mwy na difenwi Brenin, neu boeri yn wyneb Duw, neu Deyrn-frâd yn erbyn Brenin y Gogoniant.

Am hynny y pechod hwn yn anad vn ni ellir ei oddef, nac mewn modd yn y byd cyd-ddwyn ag ef: Canys â ddichon Brenin bydol oddef dirmygu ei gyfreithiau? A ddichon efe na ddigio am ei ddiystyru ei hun? A all efe oddef i neb boeri ar ei deyrnwialen, neu daflu carreg atti? Na all yn wir, ac nis gwna. Am hynny y dywed yr yspryd Glân: *Yr hwn a dorrai gyfraith Moses â roddid i farwolaeth heb drugaredd tan ddau, neu dri o dystion: Pa faint mwy dialedd dybygwch chwi, y bernir heuddu o'r hwn a sathro fâb Duw, ac a farno yn aflân waed y cyfammod, trwy'r hwn y sancteiddiwyd ef,*
b. 10.
29. *ac a ddifenwo yspryd y Grâs.*

*Drachefn os cadarn oedd y gair a ddodwyd drwy Angelion: Ac os derbynniodd pob camwedd, ac anufydd-dod gyfiawn daledigaeth, pa fodd y diangwn ni os esculuswn iechydwriaeth gymmaint? Oni ddiangodd y*
b. 2.
3. *rhai ai gwrthwynebasant ef, yr hwn oedd yn*
b. 12. *llefaru yn enw Duw ar y ddaiar: Nyni yn bytrach o lawer ni ddiangwn os gwrthwynebwn yr hwn sydd yn dywedyd or Nefoedd.* Am hynny y dywed ein Jachawdwr Crist:
. 12. *Y bydd esmwythach i Sodom ddydd y farn nac i ddirmygwyr yr Efengyl.* Efe â ddywed ymmhellach. *Brenhines y dehau â gyfyd ddydd y farn gyd a'r genedlaeth hon, ac ai con-*
. 12. *demna hi: Am iddi hi ddyfod o eithafon y ddaiar i glywed doethineb Salomon, ac wele*

*le vn mwy na Salomon ymma.* Canys mwy yw Crist na *Salomon*, ei athrawiaeth ef, ai ddoethineb sydd yn rhagori llawer arno ef. Ac am hynny mwy yw eu pechod hwynt y rhai ai dirmygant. Ni allant byth attebam y peth. Canys yr yspryd â ddywed, *Y neb â ddirmygo y gair a ddestrywir.* Dihar. 13.

Hefyd St *Petr* â ddengys i ni fod yr hên sydgynt, ar dynion yn yr oes gyntaf, yr awr-hon yn nhân vffern, o herwydd iddynt ddirmygu athrawiaeth Crist, a bod yn anufydd iddo, yr hwn er nad yn ei berson, neu ei wyddfod ei hun, er hynny yn ei yspryd sanctaidd, a lefarodd drwy *Noah.* 1 Pet. 20.
Mal hyn nyni a welwn yn amlwg na oddef Duw yn ddi-ddial ddirmygu ei Efengyl ogoneddus mor hollawl, ac mor gyhoeddus, ac yr ydys.

*Phila.* Chwi a ddywedasoch y gwir yn vnion, ac a ddangosasoch or Scrythyrau, fod dirmig ar yr Efengyl yn bechod ffiaidd. Etto er hyn ei gyd, tosturus yw ystyried leied cyfrif a wna dynion o honi, ac mor wael yw yn eu golwg hwy. Ni wna llawer fwy prîs or Efengyl, nac o gibin ŵy, neu o flew geifr. Nid ant hyd y drŵs i'w gwrando. Ni thybiant o honi, ond megis chwythad oddiwrthym ni, a lleferydd attynt hwy, ac dyna ddiwedd y gaingc. Ni chyfrifant o honi ond megis trŵst, neu ryw wag-sain yn

yr awyr, ne u lais o bell yr hwn nid ydys yn ei ddirnad. Ni chlywsant erioed moi grym hi yn gweithio yn eu calonnau. Am hynny y mawrhânt eu defaid, eu tyddynnod, eu hychen, eu budd, eu digrifwch, ie pob peth o'i blaen hi. Ni wyddant fod yr Efengyl yn gyfryw dlŵs gwerthfawr ac ydyw. Er i'n Harglwydd Jesu Grist ei chyffelybu hi i dryssor cuddiedig, ac i berl gwerthfawr: Etto y môch budr-fydol hyn a'i sathrant tan eu traed.

Oblegit nid adwaenant ei godidawgrwydd er bod Salomon ddoeth yn dywedyd: *Gwell yw ei Marsiandiaeth hi na Marsiandiaeth o arian: ei chynnyrch hi sydd well nac aur: Gwerthfawroccach yw hi na*
iha. 3. 3. 14. *gemmau, a'r holl bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi hi.* Etto yr anifeiliaid hyn, y cŵn, ar môch bydol ymma a'u diystyrant hi. Mwy cyfrif â wnânt o suwch, nac o anrhydeddus Efengyl Grist.

Tebig ydynt i geiliog Esop, yr hwn a wnaeth mwy cyfrif o ronyn haidd, nac o holl feini gwerthfawr y byd. Tebig ydynt i blantos bychain, y rhai â dybiant yn well o'u babanod nac o godaid o aur. Tebig ydynt i'r Gadareniaid y rhai â fawrhaent eu môch yn fwy na Christ, a'i Efengyl: Tybied y maent, na thâl hi ei gwrando. Llawer o honynt â eisteddant yn segurllyd yn yr heolydd, ie ar y dydd Sabboth

pan

pan fydder yn pregethu yr efengyl yn yr eglwys: Llawer a dreuliant yr amser vwch ben cardiau,a thableri yn y tafarndai:Llawer a gyscant ar eu gwelau tros amser y bregeth prydnawn:Llawer â wrandawant bregeth y borau,ac a dybiant fod hynny yn gymmaint ac a ddichon Duw ei ofyn ganddynt: ac y dylei efe fod yn rhwymedig iddynt am hynny. Ac o bydd pregeth brydnawn, aed y neb a fynno iddi, at y bowliau a'r tableri yr ânt hwy. Y cyfryw rai â wasanaethant Dduw y borau,a Diafol brydnawn. Rhai a redant i butteinia ar y suliau; rhai i'r twmpath chwareu, ac i ddawnsio;rhai i chwareu pêl-droed: Rhai i saetio eirth: Rhai i sippian diod,ac i ddadwrdd: Rhai mewn trefi a eisteddant allan wrth eu sioppau, ac eraill oddi mewn:Rhai at chwareu ffŵl bâl,ac eraill i edrych arnynt.

O ffyliaid anhappus, o genawon melldigedig!O vffern-gŵn anrasson y rhai â ddirmygant Efengyl Grist mor gyhoeddus, ac mor ddigywilydd! Beth â ddaw o honynt yn y diwedd? Diau nad yw eu damnedigaeth hwy yn cyscu.Miloedd o farwolaethau sy yn disgwyl am danynt: Noeth ydynt,ac agored o bob tu i ddigofaint Duw. Ac y mae achos i ryfeddu am ammynedd Duw, nad yw efe yn ergydio or Nefoedd bellenau o dân gwŷllt iw difa hwynt,au sioppau, a'u teiau,ac yn eu gwneuthur yn ddrychau

ac yn siamplau oi ddialedd am y cyfryw ddirmig hynod ar bethau mor gyssegr-lan, mor sanctaidd, ac mor vchel-freiniol.

*Theol.* Chwi a ddywedasoch y gwir vnion yn dduwiol, ac yn grefyddol: ac yr wyf yn eich canmol yn fawr am hynny. Ac y mae yn rhaid i mi ddal yr vn rhyw bethau, canys ni ellir eu gwadu. Ac o'm rhan fy hun yr wyf or meddwl ymma, sef naddirmygwyd yr Efengyl erioed gan bobl yn byw tan grefydd Gristianogol, a phrofesif yr Efengyl, a than frenin duwiol, mor oleu, ac mor ddilachr, ac yr ydys yn yr oes hon. Canys pa liw bynnag, ac escus o grefydd y mae rhai yn ei wneuthur: Etto y maent yn gwadu ei grym hi, ac yn troi Gras Duw i drythyllwch, fel y dywed St

Jud. 4. *Jud*: Ac yn gwneuthur yr Efengyl yn gochl iw pechodau. Ei derbyn y maent, ai chofleidio, hyd y byddo yn sefyll oreu, ac yn ddeheuaf gyd a'u mantais, a'u digrifwch, au trachwantau, au bodlonrhwydd, a'u cymmeriad, a'u cyfrwystra, ac nid ewinfedd pellach: wrth yr Efengyl y byddant byw pan gaffont ennyd. *Cyfaddeu y maent yr adwaenant Dduw, eithr ar*

Tit. 1. 16. *eu gweithredoedd y maent yn ei wadu ef, am eu bod yn ffiaidd, ac yn anufydd, ac i bob gweithred dda yn anghymeradwy.* Llawn yw'r oes hon or cyfryw Broffesswyr cnawdol.

*Phila.* Llawn yn sicer yw'r oes hon o'r

cyfryw

cyfryw ragrithwyr twyllodrus, ffuantwyr, a rhai yn disgwyl gwneuthur eu mael or amser. Y rhai er eu bod yn dangos wyneb têg, megis pe baent yn caru yr Efengyl, etto nid yw eu calonnau gyd â hi. Eu calonnau sy gyd ag An-nuwdeb: Eu calonnau sy gyd â Phabyddiaeth, ac er eu bod weithiau yn dysod i'r eglwys er dangos lliw teg ir Pregethwr, er hynny eu calonnau sy yn myned ar ôl cybydd-dod. Yr Arglwydd syn achwyn am hyn drwy'r Prophwyd Ezechiel gan ddywedyd: Deuant attat fel y daw pobl eraill: Ac eisteddant o'th flaen fel fy mhobl i: Gwrandawant hefyd dy eiriau, ond nis gwnant hwynt. Canys a'u genau y gwnant hwy watworgerdd, a'u calon sydd yn myned ar ôl cybydd-dod. Ezec. 33. 31.

Duw sydd yn achwyn am hyn drwy'r Prophwyd Jeremi gan ddywedyd: Ai yn lledratta, yn lladd, ac yn godinebu, a thyngu anudon, ac arogl-darthu i Baal; a rhodio ar ôl Duwiau dieithr, y rhai nid adwaenoch, y deuwch, ac y sefwch ger fy mron i yn y tŷ hwn, yr hwn y gelwir fy enw i arno, ac y dywedwch, Rhydd-hauwyd ni i wneuthur y ffieidd-dra hyn ôll: Ai yn lloches lladron yr aeth y tŷ ymma, ar yr hwn y gelwir fy enw i ger bron eich llygaid? Lle y gwelwn fod yr Arglwydd yn rhoi senn i'w bobl, ac yn eu hargyoeddi yn llym am gam-arfer ei deml, ei wasanaeth, Jer. 7. 9.

 a'i

a'i aberthau, drwy eu gwneuthur hwynt yn farch-gynsas i guddio eu pechodau: A gwneuthur ei dŷ ef yn ogof lladron, yr hwn a ddylei fod yn gynnulleidfa y Saint.

Hyn oll, portreiad hyliw ydyw o'n hamser ni: Yn yr hwn y mae llawer yn cymmeryd ymarfer o'r gair, o weddi, ac o'r Sacramentau, nid i lâdd, ac i farwhau pechodau, ond iw meithrin a'u cyscodi.

Canys y maent mor ddeillion â thybied, os deuant ir eglwys, a gwrando y weddi gyffredin, a phregeth, eu bod yn rhyddion oddiwrth eu pechodau, er nad ymadawant a hwynt. Meddwl y maent iddynt dalu i Dduw eu holl ddylêd, ac o hynny allan, y gallant fod yn hyfach i bechu. Y cyfryw ddynion ydynt debig i * grwydraid; y rhai a roddant gau feddiginiaeth, nid i iachau, ond i beri dolurian. Cyffelyb ydynt i'r Papistiaid, y rhai a dybiant, ond cael gwrando offeren y borau, fed yn rhŷdd iddynt wneuthur a fynnant, drwy'r dydd wedi hynny.

* ...panod.

*Theol.* Mi â welaf yr awr-hon fod gennych chwi wybodaeth mawr am Dduw, ac am wir grefydd. Digon vnion, a gwir y dywedasoch, a thebig i ŵr a chanddo gyfarwyddyd ym matterion Duw. Oblegit y bobl gyffredin a dybiant yn ddiau fod y grefydd oll yn sefyll yngwasanaeth Duw oddiallan mewn golwg, er bod eu

calonnau ym mhell oddiwrtho.

Wrth y rhain y dichon Duw yn hydda ddywedyd : *Nesau y mae y bobl hyn attaf a'u genau, a'm hanrhydeddu a'u gwefusau, a'u calon sydd bell oddiwrthif.* Am barai y dichon Duw yn gyfiawn adnewyddu ei holl achwynion gynt, yn erbyn *Israel*, a *Iuda*: y rhai ydynt mor aml yn yr holl Brophwydi : Mai ffiaidd oedd ganddo eu haberthau, ai fod yn blino ar eu hoffrymmau, yn casau eu harogl-darth, yn diystyru eu newydd loerau : yn dirmygu eu hyrddod, eu hŵyn, au geifr gan eu cyfrif oll megis gwaed dŷn, gwaed ci, gwaed môch; ar cwbl o herwydd bod eu dwylo yn llawn gwaed : o herwydd na osodent allan farn a chyfiawnder yn y porth: o herwydd nad ufyddhaent iw ewyllis ef : o herwydd nad oedd eu calonnau gyd ag ef :ac o herwydd eu bod yn arfer, neu yn hytrach yn cam-arfer y pethau hyn oll megis gwascod i guddio tano eu pechodau.

Math. 15. 8.

Esay 66. 3. ac. 11.

*Phila.* Y Mawr ddirmig ar wenidogion yr Efengyl, sydd argoel hynod o ddirmyg ar yr Efengyl. Canys ni all neb garu yr Efengyl, a chasau ei ffyddlon weinidogion hi : Eithr nyni a welwn wrth brawf gresynol, fod y Gweinidogion dwysc-bwyllaf, duwiolaf, a dyscedicaf ar watworgerdd gan ddynion o'r gwaelaf, a'r dihiraf.

Ac fel y dywed Iob : *Y rhai y gwrthodaswn*

Iob. 30. 8.

*dafwn eu tadau iw gosod gyd â chŵn fy ne-faid: Meibion yr ynfyd, a meibion heb enw ydynt hwy; gwaelach ydynt hwy na'r ddaiar.* Yn y dyddiau hyn pob diffeithwas, â feiddia yn ddirûs watwor, a dyfalu yr hên Dadau difrif-bwyll, a Bugeiliaid yr Eglwys: A feiddia eu llyfenwi wrth rodio yr heolydd, neu farchogaeth ar hyd y priffyrdd. Ac er rhoddi or yspryd Glân iddynt enwau anrhydeddus, a bri vrddasol (fef Gorchwylwyr tŷ Dûw: Datcudd-wyr ei ddirgeledigaethau ef: Cyfranwyr ei dryffor: Ceidwaid ei fêl fawr: Ceidwaid agoriadau y Nefoedd: Scrifennyddion Duw: Cennadon Duw: Angelion, ie gwir ogoniant Crist, a hyn ôll i yfpyfu godidowgrwydd eu galwedigaeth, etto y dihirwyr hyn, ie pryfedach gwenwynig y ddaiar ni rufant eu galw hwynt yn Breladiaid coegfeilchion, Perfoniaid arfoelion, Offeiriadach yn ginio. O annuwioldeb ffiaidd, ac anfatynedd. Yr awr-hon y mae yn digwyddo ir fwydd gyffegredig hon (yr hon fydd ogoneddus yngolwg Duw, ai Angelion, ac ynddi ei hûn yn dra-anrhydeddus) fod yn fwyaf ei dirmig or holl alwedigaethau. Oblegid yn y dyddiau hyn, llawn yw'r byd o goeg-wyr Di-dduw, a gwatwor-wyr Duw, yn gwneuthur gwawd or Efengyl, ac yn ealyn tafodau yn erbyn pob gwir grefydd. Y cymdeithion hyn ni cheifiant mor gêl o'u
dry-

drygwaith, na ffrost o'u crefydd. Nid ydynt yn cuddio eu drygioni yn rhagrithus, eithr yn ei osod allan ar gyhoedd, fel Sodom. Nid gwaeth ganddynt na ddelont byth i'r eglwys: Blin ydynt o hynny. Byw y maent yn anifeilaidd: a thybied am yr Scrythyrau nad ydynt ond ofer chwedlau. *Difenwi* y Gweinidogion, ar pregethwyr a wnânt: a'u gwrthwynebu yn ddilachr: a gwatworwyr hynod, ac anrasol ydynt.

*Theol.* Am y cyffelyb y rhagfynegodd yr Apostol St Petr. *Y deuai yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, a rhai yn byw yn ôl eu trachwantau eu hunain.* Am y cyffelyb yr Scryfenna gŵr Duwiol. *Verbum Dei securè contemnitur, promissiones inanes esse creduntur, minæ pro fabulis habentur:* hynny yw: Gair Duw a ddirmygir yn ddiofal: ei addewedion ef a gyfrifir yn oferedd, ai fygythiau yn chwedlau. Am y fath hynny y dywed y Poet. 2 Pet. 3. 3

*Hu vivunt homines tanquam mors nulla sequatur,*
*Aut velut infernus fabula vana foret.*

Och or byw, mae dynion ofer
heb fyfyrio marw yn amser:
Neu fod Uffern ffwrn dywyll-ddu
yn rhyw goeg-chwedl gwael iw gredu.

Rymma hysyd yr amser y mae'r byd yn heidio o Bapistiaid, ar rhai Annuwiol

A

A bywy y mae y rhan fwyaf fel pe na bai yr vn Duw. Canys yr awr-hon y casceuir gwir grefydd, y diystyrir duwioldeb, y ffieiddir zêl, y gwawdir purdeb, y diflesir ar vniondeb, y dirmygir Pregethwyr, y distedlir Proffesswyr, a'r dynion da oll gan mwyaf â gymmerir ar fugeilrhes. Dymma'r amser y gallwn drwy achos cyfiawn, gwynfan gyd a'r Prophwyd: *Barn hefyd â droed yn ei*
Esay. 59. 14. *hôl, a chyfiawnder a safodd o hirbell: Canys gwirionedd a dramgwyddodd yn yr heol: ac vniondeb ni allei ddyfod i mewn.*

Y Prophwydd *Mic.* fyd yn cwynfan dros yr amseroedd, gan ddywedyd: *Darfu am y Duwiol ar y ddaiar, nid oes vn vnion ym mhlith dynion: Cynllwyn y maent ôll am waed, pob*
Mic. 7. 2. *vn fydd yn erlid ei frawd a rhwyd.* Y Prophwyd *Ieremi* fy yn achwyn am y cyfryw ddrygioni yn ei amser ef: *Fod y bobl wedi myned yn rhy ddigywilidd i bechu.*

*A fu gywilidd arnynt hwy am wneuthur*
Ier. 8. 12. *o honynt frynti? Na fu ddim cywilidd arnynt, gan gywilyddio ni chywilyddiasant y chwaith.* Dymma bortreiad eglur, a gwir gyffelybrwydd o'n hamser ni: Canys yr awr-hon y gwiscasom wynebau o brês. Aethom yn ddygywilidd i bechu: Ni fedrwn mor gwrido, ni fedrwn wladeiddio: Aethom agos tros ben cŷwilidd, ac yn ddi-râs: Oh Arglwydd beth â ddaw o hyn yn y diwedd?

*Phila.*

*Phila.* Y mae i ni achos i ofni fod rhyw farnedigaeth drom goruwch ein pennau, ie yn nesâu attom. Canys ni âd yr Arglwydd byth yn ddiddial, ddirmig ar ei Efengyl, ai wenidogaeth.

*Theol.* Gwir â ddywedasoch. Ac ni â glywsom or blaen fel y cospodd Duw yr hên fyd gynt o blegyd yr achos hwnnw. Darllain yr ydym pa ddialeddau trymmion â ddioddefodd yr Juddewon gan y Rhufeiniaid am y pechod hwn. Megis yn eglur y rhagddywedasai ein Harglwydd Jesu. Darllain hefyd yr ydym, yn ôl ir Arglwydd ei hûn osod allan yr Efengyl, a'i thanu ar lêd drwy'r Apostolion, gan orchfygu y byd yn y modd hwnnw (yr hyn beth â arwyddoceid wrth y march gwyn, ai farchog, ai fŵa, ai goron) pan gansu, o fewn ychydig at hynny, fod yn ei dirmygu hi yn y byd, ac yn dechreu gwneuthur gwael-gyfrif o honi: Pa wedd y cystuddiodd efe y ddaiar mewn dull ofnadwy, a rhyfeloedd, a thywallt gwaed, a therfysgau, drudaniaeth, newyn, a haint y nodeu. Y rhai hyn ôll â arwyddoceid wrth y march côch, y march du, ar march gwineu, y rhai a ymddangosasant pan agorwyd yr ail, y drydedd, ar bedwaredd fêl. *Datc. 6.*

Felly hefyd y cospa Duw yn dôst bob traha, camwedd a dirmig â wneler ar ei gennadon ffyddlon. Megis y gwelir *Datc.* 11. 5.

Lle

Lle y mae yn amlwg: os ewyllysia neb wneuthur niwed i'r ddau dyst, y ddwy olewydden, ar ddau ganwyllbren (wrth y rhai y deellir ffyddlon Bregethwyr yr Efengyl a'u holl drysforau ysprydol, a'u goleuni Nefol) fod *tân yn myned o'u genau ac yn difetha eu gelynion:* sef tân digllonedd Duw, a ysfei y sawl oll a'u trallodei hwynt pa fodd bynnag, ai drwy watwar, ai coeg-fynudyn, ai difenwi :ai en llib, carchar, neu ryw fath arall ar ddirmig,ac anfri. Or peth ymma y mae gennym yn yr Scrythur siampl hynod, neu ddau.

Yn gyntaf darllain yr ydym ddescyn tân or nefoedd a llosci y capten dirmygus, a'i ddêg a deugain, ar fygwth, ac archiad
2 Bren. *Elias.*
1. 10.

Yn ail,y modd y daeth dwy arth or goedwig ac y dr liasant ddau a deugain or bechgin â watworasent Eliseus, Prophwyd
2 Bren. Duw,gan ei alw ef *moelyn, moelyn.*
2. 24.

Amlwg yw wrth y siamplau hyn fod yr Arglwydd yn dioddef tros amser y cyfryw beth,heb gymmeryd arno ei weled: Ac etto fe ddaw'r amser pan lawio efe dân,a brwmstan ar holl watworwyr ei wenidogion ffyddlon, a dirmygwyr ei Efengyl.

A hyn á fynegir yn eglur yn y bennod gyntaf o ddiharebion Salomon: Lle y dangosir pa wedd y mae doethineb Duw sef Jesu Crist, y doethineb pennaf, yn llefain yn

vchel

vchel ym mhôb man or byd, ac yn ymgym- mell ar bawb, ar osteg yn yr heolydd, ond er hynny yn cael ei ddirmygu gan rai bydol drygionus, a ffyliaid gwawdebus. Am hynny y dywed Crist:

*Yn gymmaint ac i mi eich gwahodd, a chwithau yn necau o ddyfod, i mi estyn fy llaw oddiwrthif, a neb heb droi attaf, ond bod pawb yn tynnu yn ôl eu cefnau oddiwrth fy holl gyngor i, heb fod yn fodlon i'm cospedigaeth: minnau hefyd â chwarddaf yn eich dialedd chwi; mi â escydwaf fymhen, pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni: pan ruthro yr hyn yr ydych yn ei ofni megis destruw dissymmwth: A phan ddêl eich dialedd arnoch megis * trowynt: pan ruthro arnoch megis gwascfa, a chaledi. Yna y galwant arnaf, ond ni'm cânt: Canys cas fu ganddynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwyd ni ddewisasant.* Dihar: 1.24,25. *Corwynt.

Ymma y gwelwn pa wedd y mae yr Arglwydd yn bygwth ei ddigllonedd ofnadwy, a dialedd or nefoedd yn erbyn holl anghrefyddol ddirmygwyr Crist, a'i Efengyl dragwyddol, a phawb o'i ffyddlon draethwyr, a'i chyhoeddwyr.

Edrychwch chwi ddirmygwyr, a rhyfeddwch: ystyriwch yn dda beth â ddaw o honoch yn y diwedd. Na feddyliwch y cymmer y Duw cyfiawn y pethau hyn ar eich llaw yn oestad, (ef dirmygu ei air ef mor gy-

hoeddus,

hoeddus, ac amherchi y Pregethwyr duwiolaf, ar Proffesswyr ffyddlonaf mor gywilyddus, ac yr ydych: Na chewch, na chewch. Bydded hyn diammeu i chwi, sef y cyrrhaedd efe chwi hyd adref yn y diwedd: Efe a'ch tery ar hŷd, ac ar draws; Efe a'ch ymlid, ac a'ch erlid ai farnedigaethau trymmion, ac ni thrŷ yn ôl nes iddo eich difetha, a'ch llwyr ddinistrio oddiar wyneb y ddaiar.

Canys cofiwch, attolwg, y peth â ddywed efe yn Deutronomi: *Os hogaf fyngh-leddyf disclaer, ac ymaflyd o'm llaw mewn barn, dychwelaf ddial ar fyngelynion: a thalaf y pwyth i'w caseion; meddwaf fy*
Deut. 32. 41, 42. *saethau a gwaed, a'm cleddyf a fwytta gig: o waed y lladdedig, ar caeth, o ddechreu dialeddau y gelyn.*

Phil. *Mewn gwirionedd Syr y mae achos i ofni rhag (o herwydd ein mawr ddirmig ar yr Efengyl, ac mor llaes, ac mor llygoer ydym bawb yn gyffredrin iw dilyn ac i wneuthur defnydd o honi) i Dduw ei dwyn hi oddiarnom, ai rhoddi i bobl a ddygant mwy ffrwyth oddiwrthi.* Math. 21. 43.

*Theol.* Yn wir y mae achos i ofni rhag am ein pechodau (yn bendifaddeu, oblegit ein bod yn llaru ar y manna nefol) i'r Arglwydd symmud ein cannwyllbren, dynnu ymmaith ein vdcyrn arian, a pheri na chaffom mwyach glywed hyfryd-lais glŷch

*Aaron*:

*Aaron*: peri hefyd in gweledigaethau ballu, ac i'n Sabbothau beidio, a dwyn arnom y newyn dirfawr, a thôst, o *ddiffig clywed gair yr Arglwydd*, a grybwyllir drwy'r prophwyd Amos: Y pryd hynny y troid ein holl ddyddiau hyfryd, a'n blynyddoedd llawen, yn wylofain, yn alar, yn gwynfan. Duw er ei anfeidrol drugaredd, a drô hynny oddiwrthym. *Amos 8. 11.*

*Phila.* Amên, amên. Gweddiwn bawb yn ddifrifol, ac yn daer, nôs, a dydd, ar attal o Dduw yn ei anfeidrol drugaredd y dialeddau ofnadwy hynny oddiwrthym: y rhai y mae ein pechodau ni beunydd yn galw amdanynt: ac ar gael o honom rhag llaw hîr fwynhau ei ogoneddus Efengyl ef i ni, ac i'n hiliogaeth ar gynnydd, ac yn fwy ffynnadwy.

Asun. *Yn ddiddadl, pechod mawr yw diystyru gair Duw: Ac yr wyfi yn tybied nad oes neb cynddrwg a gwneuthur hynny. Oblegit ni â ddylem garu gair Duw. Na atto Duw fod neb ni charo air Duw: Gresyn oedd gael o hwnnw fyw.*

*Theol.* Nid yw hyn ond geiriau hygoel. Hawdd yw adrodd geiriau têg. A llawer iawn â ddywedant fel y dywedwch chwithau: eithr chwychwi, a hwythau yn gystal ai gilydd ydych yn dangos yn eglur, yn eich ymarweddiad, nad oes gennych ond cyfrif bychan o honaw: Ie pe dywedwn na thybiwch

biwch yn well o honaw nac o hên gadach llestri, ni ddywedwn nemmawr ar fai: A meddwl yr wyf, pe profid y peth yn dda, mai prin y mae gennych y Beibl yn eich tŷ: Ac er ei fod, hawdd yw gwybod mai ansynych yr ydych yn ei ddarllain yn gydwybodus, ac yn ofalus; ac mor ansynych a hynny yr ydych yn gŵrando pregethu'r gair. Pa fodd, oni bai hynny y gellych chwi fod cyn lleied eich gwybodaeth, ac yr ydych?

Asun. *Cyfaddeu yr wyf fy môd i, ac eraill yn gwrando yn dra escenlus, ac yn darllain yn ddiofal; etto ni ellwch chwi ddywedyd, ein bod ni am hynny yn dirmygu y gair.*

*Theol.* Gallaf yn wir. Eich cynnefin esceulustra, a'ch diofalwch yn hyn sydd argoel hynod o ddiystyrwch ar y gair. Diau nad oes arnoch na blŷs na chwant iddo.

Dewisach gennych bob peth arall, nai ddarllain, neu fyfyrio arno. Nid ydych yn cael dim blâs arno, nac yn darllain dwy bennod yn yr wythnos: Gwrthwynebus, a blîn yn eich golwg, yw pob duwiol ymarfer o grefydd, megis finegr i'ch dannedd, a mŵg i'ch llygaid. Serch anghymmodrel i'r byd hwn ac iw oferedd, a wnaeth i chwi laru ar bethau nefol. Ac lle yr ydych ar fedr diangc yn escusodol, drwy gyfaddeu eich esceulusdra, megis pe bai hynny yn escus cymmeradwy, yr Apostol

ol a'ch cyrrhaedd chwi hyd adref, pan yw n dywedyd: Pa fodd y diangwn os ni â esceulusswn iechydwriaeth gymmaint: Heb. 2. 3. eliwch sulw ar y peth â ddywed: os ni a sceulusswn.

*Antil.* Cyffelybus yw eich bod chwi yn meddwl nad oes gan ddynion ddim amgen iw wneuthur, ond darllain yr Scrythyrau, a gwrando Pregethau.

*Theol.* Nid wyfi yn dywedyd felly; nac yn meddwl na ddylych chwi wneuthur dim amgen: Oblegit y mae Duw yn caniattau y gellwch chwi a chydwybod dda, ac yn ei ofn ddilyn, ac arfer gorchwylwaith eich galwedigaeth, fel y dywetpwyd or blaen: Eithr hyn a welaf fi yn feius ynoch chwi, ac mewn llawer eraill, sef na threuliwch beth amser mewn gweddiau neillduol, yn darllain ac yn myfyrio yngair Duw, foreu, hwyr, cyn gwaith neu gwedi gwaith. Ac er gallu o honoch yn fynych gymmeryd hamdden ddigon: Etto dewisach gennych dreulio hynny mewn oferedd, a gwag siaradach, nac mewn dim iawn ymarfer o grefydd. Yr hyn beth a ddengys yn amlwg, nad oes gennych chwi ddim hyfrydwch mewn pethau sanctaidd, na chanddynt hwythau ddim ofn Duw oflaen eu llygaid.

*Antil.* Yr wyfi yn dywedyd wrthych yn ddiweniaith, mai rhaid yw i ni ofalu am ein

gwaith

gwaith, a thrin ein pethau: ac onidê, ni â all-
wn fyned i gardotta. Ni allwn ni mor byw
wrth yr Scrythyrau. Os dilyn Pregethau a
wnawn, ni allwn ni mor ymdaro. A ydych
chwi yn tybied fod pawb yn rhwymedig i
ddarllain yr Scrythyrau? Onid ydym yn ein
côf, a'n pum fynwyr? Chwi â fynnech yn
gwneuthur ni yn ynfyd dybygaf, ond nid
ydym na meddwon, na gwallgofus.

*Theol.* Fe ddangofwyd i chwi eufys, ac â
brofwyd yn nechreu ein ymddiddan ni fod
pod dyn o ba râdd, neu gyflwr bynnag y
byddo, yn rhwymedig o herwydd cydwy-
bod i wrando ac i ddarllain gair Duw. Eith
am eich pum fynwyr chwi, ni wafanaeth
môch trô yn yr achofion hyn pe bai gen-
nych bymtheg fynwyr, chwaethach pump.
Oblegid holl fynwyr a deall, a rhefwn
dynion naturiol ym matterion Duw, ni
ydynt ond dallineb, a ffoledd. Ar Apostol
ddywed, nad yw doethineb y doethaf y
y byd hwn ond, nid yn vnig *ffolineb* gyd
Duw, eithr llwyr *elyniaeth* yn erbyn
Duw. 1 *Cor.* 3. 19. *Rhuf.* 8. 7.

Drachefn y dywed, nad yw'r dyn na-
1 *Cor.* 2. 14. turiol, ai bum fynwyr ganddo, yn dea
perthynas yfpryd Duw; canys yn yfpryd
ol y bernir hwynt. Tra fynhwyrol i
yftyriaeth ymma y llefara *Elihu*, g
*Job.* 32. 8. ddywedyd: y *mae yfpryd mewn dyn*,
*yfprydoliaeth yr Holl-Alluog fydd yn gwnu*
*th*

*thur* iddynt hwy ddeall.

*Antil.* Nid wyfi yn deall yr Scrythyrau hyn, yr ydych chwi yn eu hadrodd: Nid ânt yn fy mhen i.

*Theol.* Hynny yr wyf yn ei dybied. Canys, yr yspryd glân a ddywed, *Rhy vchel yw doethineb i ffôl.* Diha.24. 7.

*Antil.* Paham i'm gelwch yn ffôl? nid wyfi ffolach na chwithau.

*Theol.* Nid wyfi yn eich galw yn ffôl, ond adrodd yr wyf i chwi beth a ddywed yr Scrythur, yr hon sydd yn galw pawb (er doethed, er cyfrwysed fyddont, ac er maint eu dysceidiaeth) yn ffyliaid cynhwynol, hyd oni wir lewyrcher hwynt, ac y sancteiddier oddi mewn ag yspryd Duw.

Fel y mae yn amlwg, *Tit.*3.3. Lle y mae yr Apostol yn siccrhau fod Titus, ac ynteu ei hún cyn derbyn o honynt lewyrch yspryd grâs Duw, yn wir ffyliaid disynwyr, ac yn llwyr anneallgar yn y pethau â berthynant i Dduw.

*Phila.* Attolwg M. *Theologus* gadewch iddo ef ddywedyd a fynno. Ni phaid efe byth ai ymgeccreth: mi a welaf mai ceccryn rhagorol yw efe, heb ei fath: moeswch i ni gan hynny fyned rhagom i ymadrodd am y pummed arwydd o ddamnedigaeth, yr hwn yw tyngu.

*Theol.* Da iawn y gellir ei gyfenwi yn arwydd o ddamnedigaeth. Oblegid yr

wyf

wyf yn meddwl ei fod yn fwy nac arwydd. Sef ei fod yn ficcrwydd anfiommedig o ddyn gwrthodedig: Canys nid adnabum i erioed neb a gwir ofn Duw yn ei galon, yn arferol o dyngu yn gyffredin.

*Phila.* Yr wyfi or vn feddwl a chwithau, oblegit ni ddichon digwyddo, fod gwir ofn Duw, a chynnefin arfer o dyngu, yn cyfanneddu bŷth ynghyd yn yr vn dyn. Oblegid y mae tyngu yn beth gwaharddedig wrth orchymmyn hynod: Ac y mae Duw yn chwanegu at ei gyfraith fygwth ofnadwy, fef nad dieuog ger ei fron ef, yr hwn a gymmero ei enw yn ofer: ond ei gofpi a wna yn llym, ac yn ddwys.

*Theol.* Gwir a ddywedwch: A Duw a ddywed ym mhellach: Onid ofnwn, ac oni pharchwn yr enw gogoneddus, ac
Deu. 28. 58. ofnadwy hwn (*yr Arglwydd dy Dduw*) y gwna efe ein plaau ni yn rhyfeddol. Fe ddywed hefyd drwy ei *Brophwyd Malachy*:
Mal. 3. 5. y bydd efe *tŷst cyflym yn erbyn yr anudonwyr.* Ar Prophwyd *Zachary* a ddywed y
Zach 5. 2, 4. daw melldith a dial Duw, fel llyfr yn ehedeg i dŷ yr ofer-dyngwr, ac wrth hwnnw y difethir ef. Am hynny gocheled yr ofer-dyngwyr oll, a gwiliant arnynt eu hunain, a hynny mewn prŷd: Canys ni a welwn fod dialedd wedi ei ddarparu eufys ar eu medr hwynt.

*Phila.*

*Phila.* Y bygythion hyn, a thoſted ydynt, *a* hynny oddiwrth y *Duw* nefol ei hûn, a barei (dybygei ddyn) i galonnau dynion grynu,a dychrynu,a bod yn arſwydus ganddynt ruo allan y cyfryw oferlwon ac y byddant arferol o dyngu,oni bai eu bod wedi eu llwyr galedu, heb ynddynt nac yſtyriaeth, na gras.

*Theol.* Gwir. Ond etto nyni a welwn wrth ein cydnabyddiaeth ein hûn fod dynion yn ymroi i dyngu, ac i dyngu anvdon. Canys y dydd heddyw nid oes vn pechod arall fwy ſathredig yn ein plith ni na thyngu.Y mae llawer ni fedrant adrodd dêg o eiriau, na byddo vn o honynt yn llw. Ie ac yn ein plith ni y Cymru, y gair cyntaf a adroddwn ſydd llw.Canys llawer a gymmeraſant y cyfryw ddrwg-arfer o dyngu,ac na fedrant beidio, mwy nac y newidia yr Ethiopiad ei liw, neu'r llewpard ei frithni. A'u cynnefin arfer o dyngu, a wnaeth dyngu yn naturiol iddynt, ac yn ddiarſwyd, ac yn ddichwith ganddynt.

Tybied yr wyf,pe bai tyngu yn *Deyrn*frad, na fedrei rhai mor peidio ag ef. A diogel gennif,(er yſcafned y gwnawn ni or peth) mai Teyrn-frad ydyw yn erbyn y Brenin Nefol. Ie pechod digyfrwng yn erbyn *Duw*, ſef yn erbyn ei berſon ef. Ac am hynny efe ai gwaharddodd yn y llêch gyntaf oi orchymynnion.

*Phila.* Yn ddiddadl, y bai anafus hwn o dyngu, yn anad vn pechod arall sydd sathredig tros ben yn y wlâd yma. Canys chwi a gewch glywed plantos bychain yn yr heolydd yn tyngu yn erchyll, ac yn felldigedig: fe grynei calon dyn ai clywei. Fe dybygid iddynt sugno y llwon hynny o fronnau eu mammau. Eithr hyn sydd ddiammeu, iddynt ddyscu tyngu oddiwrth ddrwg-siampl eu rhieni. Ac yn y dyddiau hyn, anhawdd yw gallu ymddiddan a dŷn yr hwn (yn ei ymadrodd cyffredin) ni frytheirio allan ryw lw, neu i gilydd.

*Theol.* Mi a ddywedaf i chwi beth rhyfedd: ac y mae yn ddrwg dros ben gennif ei ddywedyd. Tybied yr wyf fod yn eu tyngu yn y deyrnas ymma bob dydd yn y flwyddyn, gan mil o lwon.

*Phila.* Diammeu Syr, eich bod o fewn eich terfynau. Canys yn awr gan mwyaf cynnifer dyn cynnifer llw, oddieithr ychydig iawn. Ie myfi a adwaen lawer o'm cydnabyddiaeth fy hûn, y rhai os cydsiaredir a hwynt, a dyngant o'u rhan eu hunain, gant o lwon bob dydd yn y flwyddyn.

*Theol.* Oh mor dosturus, a gresynol yw'r cyfryw beth: Nyni a allwn yn gymmwys adgoffau hên gwynfan y Pro-
Jer. 23. phwyd *Ieremi*. Yr hwn a ddywed fod yn
10. ei amser ef, *Y ddaiar yn gofidio o herwydd llwon.*

*llwon.* Ac iawn y gallwn ryfeddu nad yw'r wlâd yn soddo o herwydd llwon. Oblegit oni bai fod Duw yn Dduw o anfeidrol ddioddefgarwch, pa fodd y gallei efe oddef cablu yn amharchus ei enw sanctaidd, gogoneddus, gynnifer miloedd o weithiau yn yr vn dydd, a hynny gan goeg-bethau mor anheilwng ac ydym ni.

*Phila.* Y mae lle yn ddiau i ryfeddu o herwydd ammynedd, a dioddefgarwch Duw yn ein harbed ni cyhyd o amser, ac yn caniattau i ni hir yspaid, a hamdden i edifarhau. Eithr diddadl yw'r hyn a ddywed y Prophwyd: Er bod yr Arglwydd yn hwyrfrydig i lîd, etto mawr yw ei nerth, ac ni ddieuoga efe yr anedifeiriol. Er iddo gyd-ddwyn dros amser ai cythreulig dyngo, etto nid anghofia efe hwynt: Nahum 1. 3.
Ond yn hytrach efe a gymmer gyfrif o honynt, ac a'u scrifenua yn ei lyfr coffadwriaeth, fel y byddont yn distiolaeth yn eu herbyn. A phan ddêl y dydd cyfrif mawr, efe ai gesyd oll yn eu trefn o'u blaen hwynt, ac a ddyry hawl yn eu herbyn am danynt.

Na ddisgwilied ofer-dyngwyr drygionus, a chabl-wyr enw Duw gael diangc bob amser yn ddigosp, o herwydd bod Duw yn gadael iddynt fyw yn llonyd tros amser, ac yn oedi eu dialedd. Oblegit pa hwyaf yr oeda Duw, mwy ofnadwy, a dwysach fydd

ei ddyrnodiau ef pan ddelont. Pa hwyaf y tynner saeth mewn bwa, cryfach fydd yr ergid pan ddêl allan. Er bod gan Dduw draed o blwm, ac am hynny bod ei gerddediad yn araf, ac yntau yn llaes i roddi dial: etto y mae ganddo law o haiarn, ac yn taro yn drwm ac yn farwol pan ddêl. Er bod Duw yn gadael i'r drigionus fyw mewn diofalwch tres amser (medd Iob.) Etto y
Iob. 24. 23, *ac* 21.30. *mae ei lygaid ef ar eu ffyrdd hwy.* Ac mewn man arall y dywed: *Y drygionus a gadwyd hyd ddydd destruw*, ac hwy a ddygir allan erbyn dydd digofaint: felly y mae y gŵr sanctaidd *Iob* yn siccrhau fod cyflwr yr holl rai goludog bydol yn gyffelyb i gyflwr ŷch, a bascer erbyn y dydd lladsa.

Oblegid yn yr vn rhyw bennod y dywed, *Treuliant eu dyddiau mewn daioni, ac*
Iob.21. 13. *yn ebrwydd y descynnant i'r bedd.* Eithr yn awr, attolwg, henwch y llŵon mwyaf sathredig, a chynnefin yn ein plith ni.

*Theol.* Y mae ŵyth o lwon, y rhai (yn anad eraill) ŷnt amlaf, a chynnefinaf ar dafod pob dyn, sef,

Myn Duw.
Fel y barno Duw ar fy enaid.
Myn Crist.
Myn Iesu.
Myn *Mair*
Myn fenaid.
Myn fyngwirionedd.

Myn

Myn y Saint, a thyngu i amryw greaduriaid, Myn y wnaeth Duw.

Canys odid o gellwch ymddiddan a neb, yr hwn ni ollyngo allan yn ddilachr, ryw vn or llwon hyn yn ei ymadrodd cyffredin.

Asunc. *A ydych chwi yn gwneuthur cymmaint cyfrif or peth, o thyng dyn iw ffydd, a'c iw wirionedd?*

*Theol.* Ydwyf. Canys ein ffydd, a'n gwirionedd yw'r tlysau gwerthfawroccaf a feddwn. Ac â wystlwn ni y rhai hynny am bob gair a ddywedom? hynny a ddengys nad oes fawr goel arnom. Canys pwy (a dim coel arno) a osodei y tlŵs goreu yn ei dŷ yngwystl coegbeth?

Asunc. *Myfi â adwaen wr, ni thyng vn amser ond myn enaid ffon goll neu myn dail y bedw, neu myn deilen dolen*, &c. *Gobeithio na ddywedwch mai llwon yw rheini. Canys cyn onested gŵr ydyw, ar gonestaf a fwyttaodd fara ai ddannedd. Ni chewch glywed llw yn dyfod allan o'i enau.*

*Theol.* Nid wyf yn tybied ei fod cyn onested, ac y dywedwch chwi. Oblegit pechod nid bychan yw tyngu ir creaduriaid. Yr Arglwydd â ddywed drwy ei Brophwyd: *Dy blant di am gadawsant i, ac a dyngasant i'r rhai nid ydynt Dduwiau.* Felly tyngu i'r creaduriaid yw ymwrthod â Duw, ac ni ddywedwch, dybygaf, mai gŵr onest yw'r hwn â ymwrthodo a Duw. Jer. 5. 7.

Asune. *Nid wyfi yn credu mai ymwrthod a Duw yw tyngu i bethau gwael.*

*Theol.* Chwychwi, a'ch cyffelyb, ni chredwch ddim o air Duw, ond yr hyn â weloch chwi yn dda. Eithr pa vn bynnac a wneloch ai credu, ai peidio, gair Duw â saif byth yn safadwy, ac ni phrofir byth fod vn tippin o air Duw yn amgenach na gwir. Ond o herwydd mai matter bychan yn eich golwg chwi yw tyngu i'r creaduriaid, hyn a ddywedaf wrthych: sef pa waelaf, pa ddihiraf, pa ddiffeithiaf fyddo'r peth y tynger iddo, mwyaf a gwaethaf or cwbl yw'r llw. Oblegid eich bod felly yn rhoddi i'r creadur gwael, y peth a berthyn i Dduw yn vnig, sef gwybod y calonnau, a medru dirnad pethau cuddiedig, a dirgel. Canys beth bynnac y tyngo dyn iddo, y mae efe yn galw hwnnw yn dyst i'w gydwybod, mai gwir a ddywed, ac nid celwydd, yr hwn beth a berthyn i Dduw yn vnig. Ac am hynny wrth dyngu i'r creaduriaid yr ydys yn yspeilio Duw o'i anrhydedd. O hyn, tyngu ir croesau ar yr arian, neu i'r bara, neu i'r llaw, neu i'r engil dân, neu i'r ddiod, neu'r cyffelyb lwon; yw yspeilio Duw o'i ogoniant drwy roddi i'r creadur, y peth a ddigwydd yn briodol, ac o gyfiawnder i'r Creawdudd.

Asune. *Beth a ddywedwch chwi am y rhai a dyngant i'r offeren, ac i ddelw'r Grôg.*

*Theol.*

*Theol.* Pechod y rheini sydd cynddrwg ar lleill. Canys peth ffiaidd yw tyngu i eulynnod, sef myn Mair, myn y grôg, myn delw Fair, ar cyffelyb. Y Prophwyd *Amos* â ddywed: *Y rhai a dyngant i bechod* Samaria, *ac â ddywedant, byw yw dy Dduw di o* Dan, *a syrthiant, ac ni chodant mwy.* Tyngu i bechod *Samaria* yw tyngu i eulynnod. Hefyd yr Arglwydd sydd yn bygwth drwy'r Prophwyd *Zephani*: *Y tyrr efe ymmaith y rhai a dyngant i'r Arglwydd, ac a dyngant i* Malchom, neu i'w Brenin: Canys yr Eulynaddol-wyr â alwent eu heulyn *Molech* eu Brenin. *Zeph.* 1.5.

Amos 8. 14.

Asunc. *Gan eich bod yn condemnio pob vn o'r ddau: tyngu i'r creaduriaid a thyngu i eulynnod: Wrth hynny i ba beth y tyngwn? Cyffelybus yw na fynnech chwi i ni dyngu i ddim.*

*Theol.* Yn ein ymadrodd cyffredin, ni ddylem ni dyngu i ddim, nac ir naill beth, nac ir llall: Ond fel i'n dysc ein Harglwydd: *Bydded eich ymadrodd ie, ie; ac nagê, nagê. Oblegid beth bynnac sydd dros ben hyn, o'r drŵg y mae. A St* Iago *a ddywed: O flaen pob peth fy mrodyr na thyngwch, nac ir Nefoedd, nac ir ddaiar, na llw arall: eithr bydded eich ie yn ie, a'ch nagê, yn nagê, rhag syrthio o honoch mewn barn.* Jag. 5.12.

Math. 5. 37.

Antil. *Cyffelybus yw mai Anabaptist ydych*

*yn condemnio pob tyngu: ni fynnwch chwi fath yn y byd ar dyngu.*

*Theol.* Nid felly: Canys er fy mod yn gorafun tyngu i'r creaduriaid, tyngu i eulynnod ac oferdyngu: etto yr wyf yn cyfaddeu fod yn rhydd, ac yn gyfreithlon tyngu ger bron swyddog, ie ac heb swyddog hefyd mewn achosion o bwys, a defnydd-fawr, er mwyn cael allan y gwirionedd.

Hyn a gadarnheir o enau Duw ei hun, lle y dywed: *A thi a dyngi byw yw yr Arglwydd*
Ier. 4.2. *mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder.* Ie yn yr achosion hyn enw Duw yn vnig y tyngir iddo: Fel y mae yn scrifennedig, *Yr Arglwydd dy Duw a ofni ac i'w enw ef y tyngi.* Deut. 10.20.

Asune. *Onid cyfreithlon i ni dyngu yn ein ymadrodd cyffredin?*

*Theol.* Na chyfreithlon ddim: canys hynny fyddei cymmeryd enw Duw yn ofer: yr hyn beth fel y gwyddoch a waherddir.

Ac vn o ddoethion y Cenedloedd a fedrei ddywedyd fel hyn. *Pan i'th gymmeller*
Socrat. *i dyngu, gwna hynny o herwydd dau achos: naill ai er ymddiheuro oddiwrth ryw fai anafus, ac achwyniaeth trwm: neu er mwyn achub dy garedigion allan o ryw enbydrwydd:* Ni channiattaodd y Pagan hwnnw dyngu neb rhyw lw mewn ymadrodd cyffredin, pa faint llai y mynnei efe dyngu i Dduw. Un

arall

aralla ddywedodd: *Gochel lw, er dy fod yn tynguygwir:* felly nyni a welwn fod ofer-dyngu wedi ei euog-farnu, ie gan y Paganiaid.

Phocil

Asune. *Ond etto y mae yn rhaid i ni dyngu, ac onid ê ni choelir mo bonom.*

*Theol.* Ac ni'ch choelir chwi ddim cynt er maint a dyngoch: Canys eglur yw fod miloedd heb wneuthur cyfrif or peth. Ni wnânt mwy cydwybod o dyngu nac o dorri cnau.

Ac am hynny pa ddyn synhwyrol ai coliei er maint a dyngont: Eithr o gwnewch chwi gydwybod o ddywedyd gwir o'ch calon bob amser heb dyngu math yn y byd ar lw: pob gŵr onest synhwyrol a'ch coelia yn gynt o lawer na phe baech, a chwi yn amgenach, yn tyngu mîl o lwon.

*Antil.* Yr arfer yw tyngu.

*Theol.* Arfer ddrygionus, a chythreulig ydyw.

*Antil.* Yr wyfi yn gobeithio y gallwn dyngu trwy na thyngom ond y gwir, ac na thyngom ond ir peth a fyddo da.

*Theol.* Attebwyd or blaen nad yw rŷdd i chwi dyngu dim mewn achosion gwael, a di-ddefnydd.

*Antile.* Tra na wnelom ddim gwaeth na hynny, gobeithio y cymmer Duw ni yn Escusodol.

*Theol.* Ni chymmer Duw chwi yn escusodol

cufodol pan dorroch ei orchymmynion, a pharhau yn hynny.

*Antil.* Beth a ddywedwch chwi am y rhai â dyngant i welîau, ac i waed, i gîg, ac i gorph Duw, a Chrift, a'r cyffelyb lwon megis mewn gorcheft, gan fwriadu bod hynny yn harddu eu hymadrodd yn odiaeth.

*Theol.* Y mae vffern ai fafn yn agored iw derbyn, ac hwy a gânt wybod ryw ddydd beth yw cablu Duw.

*Antil.* Beth a dybiwn am y rhai a dyngant ar bob gair a ddewedant, i gorph Duw, gwaed *Duw*, cîg *Duw*, chwŷs *Duw*.

*Theol.* Bod eu cyflwr yn refynol, ac yn enbydus: ac yr wyf yn crynu wrth adrodd y geiriau hynny. Cabl eiriau ffiaidd echryflon a chynddeiriog ydynt; digon i beri ir meini yn yr heolydd hollti, ac ir cymylau fyrthio ar ein pennau. Ac y mae achos i dybied fod holl gythreuliaid vffern yn barod i fwrw y cyfryw ddihirwyr cabl-iethus bendramwnwgl i'r pwll fy yn llofci a thân a brwmftan yn dragywydd.

*Antil.* A ydych chwi yn cael yn yr Scrythyrau, y cofpa *Duw* mor dôft a hyn y fawl â dyngant?

*Theol.* *Y*dwyf yn wir. Oblegid heb law yr hyn â ddywetpwyd or blaen, y mae gennym efamplau eraill.

Yn gyntaf Sennacherib Brenin Affyria, yr hwn am ei gabledd cynhwynol yn

eibyn

erbyn y *Duw* nefol, â laddwyd mewn modd echrydus, ac aruthrol gan ei feibi- 2 Bren. on ei hûn, Adramelec, a Sarezer; a hyn- 19.37. ny yn y deml pan ydoedd yn addoli ei eulyn-*Dduw* Nisroch: Ac etto wele esampl mwy ofnadwy oddigofaint *Duw* yn erbyn cablwyr. *Darllain* yr ydym i'r Israeliaid lâdd or Syriaid yn yr vn dydd gan mîl o wŷr traed, am gablu *Duw*. 1 *Bren*. 20.29.

Ar lleill â ffoasant i'r ddinas, i Aphec: ar *mûr â syrthiodd ar saith mîl ar hugain or gweddill â adawyd*.

I ba beth y coffawn ymma y modd y crogwyd saith o feibion *Saul* Brenin *Israel* oflaen yr Arglwydd ym mynydd Gibea, am dorri'r llw a wnaethid ir Gibeoniaid lawer o flynyddoedd or blaen, 2: *Sam*. 21.

Wrth y siamplau hyn y gallwn weled yn eglur, y myn y Duw cyfiawn, ie weithiau yn y bywyd ymma, ddwyn dial ar gablwyr, a thorwyr llwon..

Ac am hyn yr oedd, hyd yn oed y Cenedloedd ym mhôb oes yn ofalus am gyflawni, a chadw llwon: megis y 'parodd Pharaoh Brenin yr Aipht i Ioseph fyned i fynu i wlâd Canaan i gladdu ei dâd yn ôl y llw a wnaethei efe iw dâd.

*Phila*. Mi â dybygwn y dylei yr esamplau hyn, (a hwythau mor ofnadwy) oddia-

ddialedd Duw yn erbyn cabl-wyr,a thyng-
wyr, yrru peth dychryn, ac arswyd yngha-
lonnau ein tyng- wyr ni.

*Theol.* Fe dybygei ddyn hynny, pe ga-
lle ddim hynny: Ond, syweth y maent
hwy wedi eu caledu yn eu drŵg yn hyn,
ac ym mhôb pechod arall cyn belled,ac nad
oes dim a gynnyrsa arnynt, oni bai fod cy-
fraith wedi ei gwneuthur,a honno yn rhw-
ymo pob tyng-wr,a chabl-wr i ddal ei law
dros ennyd fechan mewn plwm berwedig.

Y Fâth hyn, neu ryw gyffelyb gyfraith
dôst, a barei iddynt, ysgatfydd arswydo
peth, a llaesu, a brathu eu tafodau wrth
dyngu. Eithr oni bydd rhyw fâth gy-
fraith a hon, nid ofnant ddim, nes eu my-
ned i uffern, i'r tân hwnnw, pan fyddo
rhyhwyr edifarhau.

*Phila.* Beth a allei fod yr achos or my-
nych, ar mawr dyngu ymma? Canys dio-
gel ydyw, nad yw hwn bechod gwreidd-
iol, yn darlynu wrth ein naturiaeth, fel y
mae rhyw fâth ar bechodau eraill.

*Theol.* Nac ydyw. Eithr y tri pheth hyn
i'm tyb i ŷnt achosion o dyngu, Sef

1. Arfer.
2. Eisieu rhybudd.
3. Diffig cospedigaeth.

*Phila.* Pa gyphyriau ymwared, neu fe-
ddiginiaeth sydd yn erbyn hyn?

*Theol.* Y pethau ymma: Sef

1. Di-

1. Di-ymarfer. 2. Gweddi. 3. Rhybudd caredig. 4. Rhyw gyfraith dôst, gaeth.

*Phila.* Da iawn Syr. Hyd yn hyn ni a glywsom ddigon am dyngu. Bellach ewch rhagoch, adolwyn, at yr arwydd nessaf o ddamnedigaeth, yr hwn yw celwydd.

*Theol.* Tyngu, a dywedyd celwydd ydynt agos iawn o garennydd iw gilydd. Canys y neb a fyddo yn dyngwr cyffredin, a fydd hefyd fynychaf yn gelwydd-wr cyffredin: Ar hwn ni wna gydwybod o dyngu, ni wna ychwaith gydwybod o ddywedyd celwydd: ac megis mai câs gan yr Arglwydd y naill: felly câs ganddo hefyd y llall. Ac fel y cospa efe y naill: Felly y cospa efe y llall. Am hynny y dywed *Salomon: Ffiaidd gan yr Arglwydd wefusau y twyllodrus.* S. *Joan* a ddywed: *Oddi allan y bydd swynwyr, a phuttein wyr, a llofruddiaid,* a phob vn ac sy yn caru, ac yn gwneuthur celwydd. Drachefn y gŵr sanctaidd hwnnw â ddywed. *Y rhai celwyddog â gânt eu rhan yn y pwll yr hwn sydd yn llosgi â thân, ac â brwmstan, yr hwn yw'r ail farwolaeth.* Diha. 12. 22. Dat. 22. 15. Dat. 21. 8

*Phila.* Yr Scrythyrau hyn y rhai â adroddasoch chwi â fynegant yn eglur, mai ffiaidd gan Dduw y celwyddog, a darparu o honaw idynt ddialeddau trymmion. Am hynny y dywed y Brenhinol Brophwyd: Ni thrig yn fy nhŷ, yr vn â wnelo dwyll,

ni

ni chadarnheuir yn fyngolwg yr vn a ddy-
Diha. 6. wedo gelwydd.. Tafod celwyddog yw vn
16, 17. o'r chwe phêth câs gan yr Arglwydd, ac
fydd ffiaidd gan ei enaid ef.

Etto er hyn ei gŷd, ni a welwn wrth gydnabyddiaeth refynol, pa nifer â ddyfcasant iw tafodau ddywedyd celwydd, fel
Jer. 9. 5. y dywed y Prophwyd, ac nid *oes wirionedd yn eu gwefufau.*

Y bai anafus hwn fydd gan mwyaf mor fathredig â thyngu: Canys anhawdd yw cael dyn â ddywedo'r gwir, a chwbl or gwir, ac nid dim ond y gwîr o'i galon, yn ddigymmyfc ac yn ddidwyll bôb amfer, ym-mhôb lle, ac ymhlith pob mâth ar ddynion, heb goluro, na rhagrithio, er na rhag ofn, nac er gweniaith na bodloni dynion, na chelu beiau, na dim o'r fâth gau achofion. Pale meddaf, y ceid y fath ddŷn, mi a ewyllyfiwn ei weled ef. Mi a chwenychwn edrych ar y Cyffelyb ddŷn. Cynnes fyddei ganfynghalon graffu arno.

*Theol.* Y cyfryw rai ac y foniwch amdanynt, fydd anhawdd i cael ym mhlith meibion dynion. Eleirch duon ydynt ar y ddaiar: brain gwynion: adar anaml ydynt, odid or fâth. Oblegid nid oes ond rhifedi bychan o'r rhai a ddywedant wir o'u calon: etto gobeithio fôd rhai o'r fâth; ond gan mwyaf, ac ym mhlith y rhan fwyaf, celwydd, gweniaith, a thwyll fy'n dwyn y rhwyfc

ei

ei gŷd. Nid oes dim gwirionedd, dim goneſtrwydd, dim cydwybod, dim diniweidrwydd, dim purdeb ym mhlith dynion yn yr amſerau llygredig hyn. Ffyddlondeb, a gwirionedd â ymadawſant ymmaith yn llwyr. Ac fel y dywed y Brenhinol Brophwyd, *Pallodd y ffyddloniaid o blith meibion dynion: oferedd â ddywedant bôb vn wrth ei gymmydog, a gwefus wenhieithgar, ac a chalon ddau ddyblyg y llefarant.* Pſal. 12.

Dynion yn y dyddiau hyn ydynt yn ymroi iddyſcu celfyddyd y celwydd, gweniaith, parllyg, ffûg a rhagrith: y mae ganddynt galon a chalon, ſef dwy galon. Y mae ganddynt fêl yn eu genau, â buſtl yn eu calonnau. Eu tafodau ydynt mor dyner ac y menyn, neu olew: Ond eu calonnau ydynt yn llawn o chwerwedd, gwenwyn, a wermod. Llawn ydynt mewn golwg o ſedruſrwydd, boneddigeiddrwydd, a moeſau da, pryd nad oes, na gwirionedd nac vniondeb yn eu ceudod oddifewn. Hwy â ddywedant wrthych yn dêg, pan ewyllyſient dorri gwythen eich gwaed, hwy â ddangoſant i chwi wyneb ſiriol, pan ewyllyſient ſwyta eich calon gyd â garlleg. Yn y golwg oddi allan yr ymddygant yn hawddgar, pan fyddo eu calonnau yn llawn gwenwyn, â drwg fwriad: yr hiliogaeth gwiberaidd hyn â ddiſgwyliant eu hamſer, a'u cyffe hydſoni gaffont ddal dyn ar yr adwy

wy wannaf, ac yno hwy a'u brathant, ac â gymmerant eu mantais arno: y Corgŵn mwyn-ffeilsion hyn ni chyfarthant ddim nes brathu yn gyntaf.

Gostwng gwarr â wnânt, llechu, ac ymguddio nes canfod eu mantais, ac yno yr ymddangosant yn eu rhyw eu hûn, yno y rhuthrant, ac yr anafant, os gallant.

Y dynion hyn ydynt debig i lynnoedd, y rhai ydynt ddyfnaf, lle y byddant arafaf: tebig i graig beryglus guddiedig tan dawel fôr digyffro. Neu fel y dywed y Cenedloedd: Tebig i ganiad y fôr-forwyn, yr hwn yw destruw y morwyr: Neu fel chwibanogl yr adarwr, yr hon yw marwolaeth yr adar: Fel abwyd y pyscodwyr yr hwn yw gwenwyn y pyscod. Tebig i'r adar Harpiaid, â chanddynt wynebau merchedaidd, ond yspagau Eryrod: Neu debig i'r Hyena yr hwn â ymchwedleua fel cyfaill, ond â lâdd fel gelyn. Neu fel y dywed yr Scrythur: Tebig i *Joab* Capten y llu; yr hwn â gyfarchodd yn fwynaidd i *Amasa* Capten arall, ac a'i cussanodd, pryd yn ddisymwth y brathodd ef hefyd: neu debig i'r Herodianiaid, a gweision y Phariseaid, y rhai â ddaethant at ein Harglwydd Jesu, â llawer o ymmadroddion têg a gwenhieithus, gan ei alw ef Athro dâ, a dywedyd

wrtho ei fôd yn dyfcu ffordd Dduw mewn gwirionedd, ac nad oedd arno vnon neb, a llawer o fwynder, &c, prŷd mewn gwirionedd yr oeddynt yn bwriadu ei ddal ef yn ei ymadrodd, a'i fachellu, fel y caent achos iw erbyn, fel y difethent ef drwy roddi iddo megis gwenwyn ar felyf-fwyd.

Dymma'r peth â ddywed y gŵr doeth: *y neb a ddywedo weniaith wrth ei gymmydog fydd yn gofod magl iw draed ef.* A thrachefn: *Fel forod arian wedi eu bwrw dros ddryll llestr pridd: felly y mae gwefufau gwenieithûs, a chalon ddrŵg.* Ac mewn man arall y dywed. *Y digafog â ragrithia a'i wefufau; ac yn ei galon yn dychymmig twyll: pan ddywedo efe yn dêg, nac ymddiried iddo, canys y mae faith ffieidd-dra yn ei galon ef: drwy gyfrwyftra y cuddir digafedd, ond ei ddrygioni a ddatcuddir yn y gynulleidfa.* Mewn man arall y mae efe yn cyhoeddi melldith, yn erbyn rhagrithwyr dau wynebog, a gwenhieithwyr mwynffeilfion. Canys medd efe: *Ir hwn â fendithio ei gyfaill yn foreu iavvn a llêf vchel gan gyfodi yn foreu, y cyfrifir yn felldith.* Dihar. 27. 14.

Diha. 29. 5. ac 26. 23, 24.

*Phila.* Chwi â eglurafoch yn odiaeth gyneddfau dŷnnion yr oes hon, y rhai fydd ganddynt wynebau a thafodau, ond heb ddim calonnau, Y rhai â wnânt gelwydd,

a gweniaith yn gelfyddyd: y rhai â ddywedant, na ſedr efe fyw, ond â ſedro ragrithio: y rhai y mae ganddynt wynebau golygus, a chalonnau twyllodrus: y rhai â anghofiaſant mai gwir oneſtrwydd yw'r cyfrwyſtra buddiolaf.

*Theol.* Yr yſpryd Glân yn fynych, yn Niharebion *Salomon* ſy'n galw pob mâth ar ddynion heb eu adeni, ffyliaid: Neu fel y mae yn yr Hebreaec, dynion heb galonnau. Oblegid nad oes ganddynt na chalon i Dduw, na chalon iw air: Na chalon iw blant ef: Na chalon i Dduwioldeb: Na chalon i ddim ſy dda: y maent heb galon ôneſt, heb galon vnion, heb galon ddiffûg: y cwbl a ddêl oddiwrthynt ſydd ar eiriau, dim mewn gweithredoedd. Addewidion mawrion â wnânt, heb gwplau vn gronyn: hwy â ddywedant yn dda am grefydd, ond nid ymarferant â hi. Hwy â rônt eiriau têg iw caredigion, eithr ni wnânt ddim erddynt.

*Phila.* Y bŷd ſy lawn or cyfryw hudolion: a chelwydd a rhagrithio ni bu er ioed cyn amled.

*Theol.* Rhy wir ydyw, bod celwydd a thwyll yn draſathredig, ac yn feiau rhŷ gynnefin ymyſc pob mâth ar ddynion: Ond yn bendifyddeu y maent yn lluoſogi, ac yn amlhau mewn Siop-wyr, a gwaſanaeth ddynion. Oblegit y ddau hyn a wnant

gelfy-

gelſyddyd a chreffſt o honaw, ni ſedrant amgen na dywedyd celwydd: y mae hynny yn glynu wrthynt fel yr hoel yn y ddôr.

*Phila.* Myfi â adwaen yn hyſpys rai Siop-wyr, y rhai (er mwyn gwerthu eu wâr diffaith, ac i ddallu llygaid y gwirion) a wnant elw o gelwydd drwy'r dydd, o haul i haul, o'r prŷd yr agorer y Siop, ar ffenestri, hyd onis cauer. A pheth yw yſtod eu buchedd? (os daw prynwyr i mewn yn aml, ond tyngu, dywedyd celwydd, rhagreithio, a thwyllo? hwy a ddywedant gelwydd cyn gyflymmed ac y tithiei farch. Peth rhyfedd nad yw eu ſioppau a'u holl war yn myned yn chwil-boeth am eu pennau am eu celwydd, mor arferol, mor ddrygionus, ac mor ffiaidd; a hynny yn erbyn eu gwybodaeth eu hûn, yn erbyn eu cydwybod, yn erbyn Duw, yn erbyn e'u cymmydog, yn erbyn y Nefoedd ar ddaiar, yn erbyn dynion ac angelion.

*Theol.* Gwir ydyw: y mae achos i ryfeddu am hîr ammynedd Duw yn y pethau hyn. Eithr hyn ſydd i ddal ſulw arno, nad ydyw Duw yn ebrwydd yn coſpi pôb pechaduriaid hynod, yn y bywyd yma: ond yn gadael miloedd i farn y dydd mawr: Yn y bywyd yma efe yn vnig a ddidola ychydig ddynion, y rhai a gerydda efe er ſiampl i eraill, i beri iddynt ddychrynu, ac ofni, ac fel y dyſgont wrth weled dial ar

eraill

eraill ymgadw eu hunain yn ddichlin.

Am hynny yn y bywyd ymma y gwelwn o flaen ein llygaid rai celwyddog, rhai meddwon, rhai putteinwyr, rhai tyngwyr, rhai carliaid bydol, rhai gloddestwyr, a thor-gegau, wedi eu taro ir llawr gan ddialeddus law'r Arglwydd. Ond am vn or cyffelyb â darawo Duw yn y byd yma, y mae efe yn gadael cant i ddiangc, o herwydd pe cospei efe bob troseddwr yn y bŷd yma, pa raid fyddei wrth farn yn ôl hyn? Pe bai efe heb gospi neb, yna y tybygem, na byddei yr vn Duw, neu fod o honaw yn segur yn y nefoedd, ac na wnai na da, na drŵg, Na chymyrredd dim ym matterion y byd: Megis y breuddwydiodd rhai or Epicureaid. Am hynny er mwyn gochelyd y ddeu-ddrwg hyn, Duw yn ei Nefol ddoethineb â dybiodd yn dda roddi dial ar rai yn y byd ymma.

*Phila.* Yr wyf fi or meddwl yma: sef am y da a gascler, drwy dyngu, dywedyd celwydd, a thwyll, na bydd arnynt hîr lwyddiant, a ffynniant yn y byd ymma.

*Theol.* Nid ydych am hyn o beth yn camfeddwl. Canys Duw â chwŷth ar bob nâth ar dda a ynniller felly yn anghyfiawn: *Ac bwy a roddir mewn côd dyllog:* Fel y dywed y Prophwyd: *Hag.* 1. 6. Yr yspryd Glân yn llyfr y Diharebion â grybwyll am lawer o ymadroddion odiaeth ir

ir ystur hwn: megis pennod 13. a'r 11. *Golud yr hwn a gesclir drwy anwiredd a ddiflanna: Ond y neb a gasclo â llaw gywir a chwanega ei gyfoeth.* Drachefn: *Y neb a weithio â llaw dwyllodrus fydd tlawd, ond llaw y llafurus ai cyfoethoga hwynt.* Mewn man arall y dywed. *Ni rostia y twyllodrus mor peth a heliodd, ond y dŷn diesceulus a fwynhâ gyfoeth gwerthfawr.* Hynny yw y dŷn twyllodrus ni chaiff hîr fwynhau, neu brofi o'r helfa â gasclodd drwy dwyll: Oblegyd rhyw drallod, neu gilydd â fyrth arno, fel na allo fwynhau, neu ymlawenhau yn y pêth â gasglodd. Am hynny y dywedir: *Melus yw'r bara a ynniller drwy ffalster, ond o'r diwedd ei enau a lenwir â grô.* Hyn yw: yn y diwedd y dyn dichellgar â gyferfydd a thrallodau lawer. Oblegit naill a'i ei gydwybod a'i cyhudda, ac a'i cerydda ef: Neu aflwydd a'i blina am ei dwyll. Yr ofn, ar gôfalon, ar triftwich â ddaw arno, fydd megis cynnifer o gerrig llymmion yn hogi ei ddannedd ef, ac yn ei boeni. O herwydd paham, yn lle bwyd efe a borthir â gro; ac yn lle gwenith â graian.

Diha. 10. 4.

Diha. 12. 27.

Diha. 20. 17.

Ychydig lawenydd a geir yn y diwedd or da a gascler yn anghyfiawn, neu'r ardrethi a gyrhaedder yn anghyfreithlon. Canys yr yspryd Glan a roes eufys

farn

farn am danynt, na ſydd byth lwyddiant arnynt.

*Phila.* Digwyddo y mae weithiau iddynt dyccio dros amſer, ond fel y dywedwn, Prin y perchennoga y trydydd etiſedd hwynt. Oblegit Duw a'i mělldiga yn ein hiliogaeth ni; a'n hwyrion a gant ddwyn dîal am ein pechodau ni. Am hynny y dywed y

Job. 27. 14. gŵr ſanctaidd Job. *Hiliogaeth y drygionus ni ddigonir â bara.* Canys yn ddiammeu hynny yn vnig a ſendithia Duw, a ennillcr a chydwybod dda drwy lafurwaith ein galwedigaeth. A hynny a erys yn llwyddianus i ni ac in hiliogaeth.

Diar. 20. Am hynny y dywed yr yſpryd: *Y Cyfiawn a rodio yn vnion, gwyn ei fyd ei blant ar ei ôl.*

Eithr ni rŷdd Duw ſendith, ond melldith ar yr hyn a gaſgler a chydwybod ddrŵg, megis trwy dyngu, dywedyd celwydd, rhagrith, twyllo, &c.

Hierom. *Theol.* Rhai o'r hên Athrawon a lefaraſant yn ſynhwyrol tros ben am y peth hyn. Canys vn a ddywed: *Iniuſta lucra breves habent voluptates, longos autem dolores.* Elw anghyfiawn a ddŵg hir driſtid, eithr byrr lawenydd. Arall a ddywed: *Eligas*

August. *dammum potius quam turpe lucrum: illud enim ſemel tantum te dolore afficit, hoc verò ſemper.* Dewis golled yn hytrach no bûdr elw: Canys y naill ni'th driſtha ond vnwaith; eithr

eithr y llall dros byth.

Trydydd a ddywed : *Melius est honeste pauperem esse, quam turpiter divitem: hoc enim commiserationem, illud veró reprehensionem adfert.* Bern.

Gwell yw bod yn dlawd ônest, nac yn gyfoethog drygionus. Canys y naill a bair tosturi, ar llall gerydd.

Un o'r doethion Cenedlig hefyd a ddywed : *Ni ddylem ni ymgyfoethogi drwy anghyfiawnder*, ond byw ar bethau cyfiawn, y rhai a eilw efe pethau sanctaidd. Euripid.

*Philagathus. Onid oes gennym yn yr Scrythyrau siamplau o rai a gospwyd amgelwydd?*

*Theol.* Oes : oblegid yr ydym ni yn darllain, pa wedd am eu celwydd a'u rhagrith y gwnaed y Gibeoniaid yn gaethion ir *Israeliaid*. Iosh.9.23 *Gehesi* hefyd gwâs *Eliseus* am ei gelwydd ai gybydd-dra â darawyd a dirlawr wahanglwyf, 2. *Bren.* 5. *Ananias*, a *Saphyra* ei wraig, am eu celwydd a'u rhagrith â darawyd i lawr yn feirw â llaw yr Arglwyd ar gerydd *Petr. Zophar* vn o gyfeillion *Iob* a ddywed am y cyfryw ddynion : *Efe â sugna wenwyn aspiaid. Tafod gwiber ai lladd ef: efe a ffy oddiwrth arfau o haiarn : bwa o ddur a'i trywana ef. Felly nyni â allwn weled yn oleu wrth y siamplau hyn, mor ffiaidd gan Dduw gelwydd, a rhagrith.* Iob.20.16,24. Act.5.5.10.

*Phila.*

*Phila.* Oh gan hynny na fedrem ni ganlyn cyngor yr Apostol yr hwn â ddywed,
Col. 3.9. *Na ddywedwch gelwydd wrth eu gilydd, gan i chwi ddiosc yr hên ddŷn yngbyd a'i*
Ephes.4. *ymarferion.* A thrachefn: *Gan fwrw ym-*
25. *maith gelwydd dywedwch bawb y gwir wrth ei gymmydog*: Dull ymadrodd yr Apostol sydd dra ystyriol, yn arwyddocau hyn, Y dylem ni mewn mâth ar ddiflasrwydd, a ffieidd-dra daflu ymmaith gelwydd, a'i ergydio oddi wrthym megys brettyn budr, a drewedig ac aflân, a fai o amgylch gwddf dyn: yr hwn a gippiei efe ar gais, ac a'i bwriei ir tân rhag cywilidd ei weled byth nai adnabod. O Dduw na byddai mor ffiaidd, ac mor wrthwynebus gennym ni gelwydd, ac y poerem tu ag atto, ac y llefem, ffei fyth o honaw, ac o bawb a'i harfero. Oh na chasaem ni gelwydd megis y Cythraul gwir dâd y celwydd, ac megis tân vffern ei wobr. Oh na chyrhaeddem ni cyn belled ar gŵr cenedlig yr hwn a ddywed, Yr wyf yn casau megis pyrth vffern, y dŷn a fyddo ar naill beth ar ei dafod, a pheth arall yn ei galon.

*Antil.* Etto er hyn ei gyd yr ydym ni yn cael yn yr Scrythyrau fod ym mhlith y duwiol, rai wedi eu dal ar gelwydd, ac etto heb pechu yn hynny: megis Abraham, Iacob, Rahab, Byd-wragedd yr Aipht: A pha ham na allwn ni wneuthur felly hefyd?

*Theol.*

*Theol.* Mi a ddywedais i chwi ymlaen llaw, nad rhydd gwneuthur gwendid pobl Dduw yn rheol i chwi i fyw wrtho. Ac ymhellach yr wyf yn atteb drosseddu o rhai hyn oll yn eu celwydd. Rhai o honynt yn siccr, yr wyf yn cyfaddeu, â ganmolir am eu cariad ir eglwys, a'u caredigol serch i bobl Dduw: ond nid ydys yn canmol neb o honynt, am ei gelwydd: Yr hwn beth â gondemnir gan y Cenedloedd: Canys medd vn o honynt, *Celwydd sydd yn llygru buchedd dyn: a phob dyn synhwyrol, a duwiol a gasaa gelwydd.*

*Antil.* Eithr onid rhydd dywedyd celwydd weithiau er ynnill, a mantais?

*Theol.* Na rydd yn wir: ac nid oes dim gwir fantais iw ynnill ffordd honno: Canys darfyddo bwrw cyfrif, a thynnu allan y draul, a thalu'r gôst, ychydig fydd eich mantais. Oblegyd drwy eich amryfus arfer o ddywedyd celwydd, ynnill yr ydych dristyd calon, a cholli gwir lawenydd: ynnill byrr ddigrifwch, a cholli tragwyddol ogoniant; ynnill vffern, a cholli y nefoedd. Gwneuthur diafol yn gyfaill, a Duw yn elyn. Bellach cyfrifwch, a bwriwch eich mantais.

*Phila.* Attolwg gadewch i ni dynnu at ddiben yn y pwngc hwn; a dangoswch ar fyrr yr achosion pennaf o gelwydd.

*Theol.* Y prifachosion o ddywedyd celwydd

wyddyw y rhai hyn. 1. Arfer. 2. Ofn;
3. Cybydd-dra. 4. Y Cythraul.

*Phila.* Beth yw'r feddiginiaeth? neu'r ymwared.

*Theol.* Y feddiginiaeth yw hyn.
Di-ymarfer.
Hyder duwiol.
Bodlonrhwydd.
Dyfal weddi.

*Phila.* Chwi a ddywedasoch ddigon am y bai hwn er peri i bawb ei ffieiddio, ac ymwrthod ag ef, ac fydd ynddynt ddefnyn o ras, neu wreichionen o ofn Duw: ond am y rhai ydynt aflan, byddant aflanach: Bellach moeswch attolwg, eich barn chwi am y feithfed arwydd o ddamnedigaeth: yr hwn yw meddwdod.

*Theol.* Y mae y pechod hwnnw mor fwrth, ac mor anifeilaidd, ac y tybygei ddyn mai afraid fyddei ddywedyd yn ei erbyn: ond y dylei pawb oll, a rhefwm ganddynt ei ffieiddio, a chrynu o feddwl am dano. Oblegit pechod hychaidd ydyw, yn gwneuthur dyn yn anifail, ac yn tynnu ymaith galon dyn oddiwrth bob daioni, megis y tefliolaetha y prophwyd, *Putteindra, gwîn, a*
Hos. 4. 11. *gwîn newydd fy yn dwyn ymmaith eu calonnau:* Canys pa galon, pa flys, pa chwant a ddichon bod gan butteinwyr, a meddwon i ddim ar a fyddo da? nid oes arnynt ddim chwant i wrando, nac i ddarllain gair

Duw, neu i weddio, ac i fyfyrio ynddo: y maent fywaeth ym mhell oddiwrth Dduw, a phell oddiwrth bob gras, a daioni. Am hynny y dywed y Prophwyd, *Joel.* 1.5. *Deffrowch feddwyr, ac wylwch, ac udwch holl yfwyr gwin.* Ie y cadarn Dduw nefol sy'n cyhoeddi gwae iw herbyn: *gwae y rhai a gyfodant yn foreu, ac a ddilynant ddiod gadarn, ac a arhosant hyd yr hwyr, hyd oni enynno y gwin hwynt.* Ein Harglwydd Jesu ei hun sydd yn rhoi i ni rybudd i ymogelyd rhag y pechod hwn, gan ddywedyd. *Edrychwch arnoch eich hunain rhag gorchfygu eich calonnau, a glothineb a meddwdod, a gofalon y byd hwn, a dyfod y dydd hwnnw arnoch yn ddisymmwth.* Esay, 5. xi. Luc. 21. 34.

Mal hyn chwi a glywch pa wedd y mae Crist ei hûn a swrn or Prophwydi gyd ag ef, yn taranu i lawr or nefoedd fygythion ofnadwy yn erbyn y pechod anifeilaidd hwn, yr hwn heddyw sydd yn amlhau, ac yn dwyn rhwysc ym mhlith meibion dynion.

*Phila.* Gwir iawn. Etto nid oes dim â bair iddynt ei adael ymmaith: Canys bai ydyw sathredig, a rhŷ gynnefin. Ni â welwn lawer yn tybied yn dda o honynt eu hunain (ac ni fynnant eu cyfrif ym mhlith rhai gwael) y rhai â adawant ir bai hwn eu gorchfygu, ac wrth hynny yn colli eu holl gymmeriad, a'u coel dda gyd â gwyr synhwyrol: ie yn eu gwneuthur eu hunain megis môch, ac anifeiliaid direswm. Fel

y tystia yr yspryd Glân gan ddywedyd.

*Gwarwarus yw gwîn, a therfyscaidd yw diod gadarn : Pwy bynnag a siommer ganddi nid yw ddoeth*, Dihar. 20. 1.

*Theol.* Y Brenhin doeth yn yr vn llyfr sy'n gosod allan yn odiaeth y drygau, ar niweidiau sy'n canlyn meddwdod wrth ei sodlau. *I bwy (medd efe) y mae gwae? I bwy y mae ochain? I bwy mae cynnen? I bwy y mae dadwrdd? I bwy y mae gweliau heb achos? I bwy y mae llygaid cochion? Ir neb sydd yn aros wrth y gwin ac yn chwilio am wîn cymmyscedig*, Dihar. 23. 29. 30.

Act. 20. Yn yr vn bennod honno y dywed. *Na fydd vn or rhai sydd yn meddwi ar win: Nac vn o'r rhai glythion ar gig : Canys y meddw, ar glûth a ddeuant i dlodi, â gormod cyscu a bair myned mewn gwisc ddrylliog.* Ymhellach y dywed. *Dy lygaid â edrychant ar wragedd dieithr, a'th galon a draetha drawsedd. Ti fyddi megis vn yn cyscu ynghanol y* Dihar. 23. 33. *môr, ac fel vn yn cysgu ym mhen yr hwylbren.* Yn yr holl ymmadroddion hyn y mae'r yspryd glân yn dra eglur yn hyspysu i ni gynneddfau y meddwon, sef eu ymddygiad anifeilaidd, a'u maswedd, a'u brynti.

Gwelwn gan hynny pa ffrwyth melldigedig, â drwg ddichwen â ddaw o feddwdod : sef y rhai hyn sy'n canlyn. Gwae, ochain, tristwch, trueni, rheidusni, tlodi, cywilydd, trachwantau, ymryson, dadwrdd,

wrdd, ymgynhennu, ymladd, ymgeccru, glothineb, clefydau, afiechyd, fwrth-gwfc, diofalwch ac afreolddeb.

Felly yr wyf yn bwrw mai bai * anafus yw meddwdod, gweddeiddiach i lwdn hŵch nac i ddŷn â rhefwm ganddo. Ac fel y dywed vn, Meddwdod yw y fam-ddinas ar holl dalaith y drŵg gampau. Da gan hynny y dywed yr Athro Cenedlig: *Pan yfer yn vchel, y mae dyn fel cerbyd ar ei rhedeg heb neb i w battal.*

* Scel... neu ang... riol.

Demof... in Olin...

*Phila.* Moefwch glywed pa gofpedigaethau â wnaed ar feddwon yn yr oefoedd gynt, mal yr awr-hon y gallo dynion ddyfcu ymogelyd wrth eu fiamplau hwynt.

*Theol.* *Amnon* vn o blant anraflon y Brenhin *Dafydd* yn ei feddwdod â laddwyd gan ei frawd *Abfolon*. *Benhadad* Brenhin *Syria* pan ydoedd yn feddw â orchfygwyd gan *Ahab* Brenhin *Ifrael*. *Ela* Brenhin *Ifrael* yn ei feddwdod â laddwyd gan *Zimri* ei wâs ei hun, a Chapten ar ei gerbydau: yr hwn hefyd â deyrnafodd yn ei lê ef. *Lot* yn feddw a wnaeth lofcach gyd â ei ferched ei hun, ac am hynny â gofpwyd yn ei hiliogaeth.

2 Sam. ... 28, 29.
1 Bre... 20. 20
1 Bre... 16. 1...
Gen. ... 37.

Mal hyn ni â welwn pa ddialeddau a wnaed, ie ar frenhinoedd am y pechod hwn. Am hynny dyfced dynion o'r diwedd ochelyd drŵgfeiau, a dilyn rhinwedd dda. Ac fel y dywed yr Apoftol, Gorphen eu iechydwriaeth drwy ofn, a dychryn.

chryr. Oblegid ni wna ein holl ddichellion, an cyfrwyftra i ni ddim llefhad yn y diwedd. Ond darfyddo i ni geifio bwrw cêl dros gyffion yma a thraw hŷd y gallom, etto ar hynt fe a'n ceir ni, bid drŵg, bîd da, wedi ein gwarchau tan ddigofaint Duw.

*Antil.* Beth yw hyn attolwg a wnewch chwi gymmaint defnydd o honaw? o bydd dyn wedi cael crap wrth gwmpniaeth ychydig mwy na digon weithiau? Nid oes nêb heb ei fai, ac y mae ir goreu o honom ddigon o lê i wellhau. O daw cymmydogion ynghyd ymbell waith ir dafarn, a chwareu am bott yn ddifeddwl drŵg, i'm tyb i, cymdeithas dda yw, a modd cymmwys i fagu cariad rhwng cymmydogion: ac nid peth mor ffiaidd, ac y dywedwch chwi.

*Theol.* Myfi a welaf, yr ewyllyfiech chwi deghau'r matter; ac â geiriau hygoel coluro y peth, fel pe na bai nemmawr niwed ynddo. Eithr pa wedd bynnag y gwnewch chwi fatter yfcafn o honaw, etto yr Apoftol
Cor. 6. a ddywed yn hŷt: *Na chaiff meddwon eti-*
10. *feddu teyrnas Dduw.* Yr wyfi yn tybied mai digon yw'r vn ymadrodd hwnnw i bendafadu, ac i daro drwy galonnau holl feddwon y byd.

Oblegit cymmaint yw mewn yftyriaeth a phe dywedafai yr Apoftol: Pob meddwon ydynt hynod wrthodedig: Cŵn Uffern, caeth-

caeth-weision y cythraul, ac wedi ymroi i ddestruw tragwyddol, a damnedigaeth.

Ond chwi a ddywedwch nad oes gennych feddwl drŵg. I'ch atteb: Beth bynnag yw eich meddwl, drŵg yw eich gweithredoedd, a chyn-ddrwg yw eich cymdeithas. Oblegid pa feddwl da a ddichon bod gennych, neu pa gymdeithas dda y gelwch chwi pan fyddo gweithwyr tlodion, crefftwyr, ar cyffelyb, yn eistedd yn segur drwy'r dydd yn y tafarndŷ: yn ofer-dreulio eu hamser, a'u harian: Yn chwareu, yn gloddest, yn tyngu, yn llygad-rythu, yn ymddifoli, yn ymyfed, yn ymgynhennu, ac yn dadwrdd. Nid oes dim gwir gyfeillach dda yn hyn: llwyr annuwioldeb yw: ac annuwioldeb y gelwir, pan fyddo dynion tlodion yn byw yn segur, ac yn afradlon gan esceuluso eu galwedigaeth, a gadael eu gwragedd truain, a'u plant gartref i * nadu am fara i dorri eu newyn; yn barod i lewygu, i gardotta, neu i ledratta: attolwg dywedwch eich cydwybod, pa gymdeithas dda yw hyn?

* lefain.

*Antil.* Etto er hyn ei gŷd, y mae rhai yn ymgadw allan or tafarnau; ac etto cyn-ddrŵg ac eraill. Canys enllibio, a drwg-absennu eu cymmydogion a wnânt: A gwneuthur direidi, ac atcasrwydd cyn gynted ac eraill: Cenfigennus ydynt, ac yn barnu arnom, ac yn diystyru ein cymdeithas.

thas. Etto yr ydym ni yn tybied o honom ein hunain, ein bod cyſtadl â hwythau, er duwioled ydynt mewn golwg.

*Theol.* Dywedyd yr ydych mwy nag â wyddoch neu á ellwch ei brofi yn erbyn rhai gwell na chwi eich hûn. Eithr pe felly y byddei, ni wnaech ond cyfiawnhau y naill bechod drwy'r llall, y lleiaf drwy'r mwyaf: ac i ba bwrpas?

*Antil.* A gondemniwch chwi bob cymdeithas dda?

*Theol.* Na wnaf; yr wyf fi yn tybied yn dda iawn o bôb duwiol, a Chriſtianogol gymdeithas, ac yn cydnabod mai hynny yw vn o'r cyſſuron pennaf ſydd gennym yn y bŷd yma. Myfi â wn y gorchymynnir i ni garu *cymdeithas brawdol.* Ond am eich
1.Pet. 2. 17. cymdeithas chwi wwchben pottiau, cās yw gennifi, ai ffieiddio yr ydwyf.

Diha.28. 19. Canys ſcrifennedig yw: *Y nêb a ganlyno oferwyr a lenwir o dlodi.* A thrachefn. *Y*
Diha. 28. 7. *neb a fyddo gydymmaith i loddeſtwyr, a gywilyddia ei dâd.* Ac mewn man arall: *Y*
Diha.21. 17. *neb â garo wîn ac olew, ni bydd cyfoethog.*

*Phila.* Attolwg Mr *Theologus*, na ſiaredwch ag ef mwy; eithr moeſwch i ni dynnu tu ag at ddibennu y matter yma; â mynegwch i ni ar fyrr, pa rai yw prifachoſion meddwdod?

*Theol.* Yr achoſion yw y rhai hyn: ſef,

Drŵg gymdeithas.

Taſ-

Tafarnau.
Seguryd.
Drwg-awen.

*Phila.* Beth yw'r gwir feddiginiaeth?

*Theol.* Y meddiginiaethau yw y rhai hyn.

Gochelyd drwg gymdeithas.
Gochelyd tafarnau.
Pryssurdeb yn ein galwedigaeth.
Trefn dda i fyw.

*Phila.* Felly Syr: Chwi â aethoch yn ddigon pell yn y pwngc ymma. Bellach moeswch i ni ddyfod at yr wythfed arwydd o ddamnedigaeth, yr hwn yw seguryd.

*Theol.* Am seguryd, hyn â ddywedaf ar fyrr: mai mam pob drygioni yw, a llysfam pôb rhinwedd dda: ie mammaeth pob afreol, mam putteindra yw, mam balchder, mam lledrad, mam meddwdod, mam annwybodaeth, mam amryfusedd, mam tlodi, mam enllib a drwgabsen, dadwrdd, a siaradach, ymchwrnu, ymddifenwi, ac ymgynhennu, â pheth nid yw? Seguryd oedd vn o brif bechodau *Sodom*, fel y tystia y Prophwyd *Ezechiel*, gan ddywedyd. *Balchder, digonoldeb bara, a gormodedd seguryd oedd ynddi, ac yn ei merched.* Helaeth iawn yw *Salomon* yn yr achos hwn. *Enaid y diog a ddeisyf ac ni chaiff ddim.* A thrachefn. *Y diog sydd ddoethach yn ei olwg ei hun, na saith o wŷr* yn-

*Achos meddwdod.* *Meddiginiaeth feddwdod.* Ezec. 16. 49. Diha. 13. 4. Diha. 26. 16.

*yn medru rhoi rhesswm synhwyrol.* Hynny yw. Efe a'i tybia ei hûn yn ddoethach o lawer, am arbed ei gorph, pan yw eraill yn cym-
Dih. 24. 33 meryd poen. Efe â ddywed : *Etto ychydig gysgu ychydig heppian, ychydig wascu dwylo i orwedd yngbysgwng hyn y daw tlodi arnat, megis ymdeithudd, sef yn ddiarwybod, a'th angen fel gŵr arfog :* Hynny yw yn grŷt. *Y*
Preg. 4. 5 *diog â guddia ei law yn ei fonwes, a blin ganddo ei hestyn at ei enau. Trachefn* mewn man
Dih. 26. 15. arall y dywed yr yspryd Glân. *Y diog ni ardd*
Dih. 20. 4. *yn amser gaiaf, am hynny y bydd yn cardotta yr hâf, ac ni chaiff ddim.* Drachefn, *Y dyn diog sydd frawd ir neb â fyddo drafafradlon.*
Dih. 18. 9. ac 26. 14. Ym mhellach y dywedir. *Fel drŵs yn troi ar ei golyn, felly y trŷ y diog yn ei wely.* Sef efe â geidw ei wely fel pe bai ynglŷn wrtho.

Ac oblegid y myn yr yspryd Glân am-lhau yn y pwngc hwn, Scrifennedig yw
Dih. 26. 13. ymhellach am y dyn diog y dywaid, *Y mae llew mawr ar y ffordd, y mae llew yn yr heolydd,* hynny yw : pan fyddo dim gorchwyl da yn llaw (megis pregethu, darllain, gweddio, rhoddi i'r tlawd, &c. yna cilio yn ôl a wna, fel malwen iw chogwrn, bwrw ei beryglon, a dychymmig escusion : yna budd, a digrifwch, prysurdeb, a diogi, ac achosion gartref, ac achosion oddi cartref, cymdeithion a mil o rwystrau a saif ar ei ffordd, megis cynnifer o lewod, i rwystro, ac i ludias iddo wneuthur dim daioni.

Felly

Felly ni a welwn mor hyspys, ac mor helaeth y mae yr Scrythyrau Sanctaidd yn portreiadu cwlbrenni diog swrth y bŷd hwn, a meibion seguryd: y rhai cyn anhawsed yw eu tynnu at ddim da, a llusco hên arth at y sang-bawl.

Ac am achosion crefyddol, hwy a ânt ynghylch y rheini mor sywiog, ac mor llawen a lleidr i ddringo'r yscol iw grogi am ei ledrad.

*Phila.* Mi a welaf yn amlwg, fod y pechod hwn o seguryd yn bechod tra-anatus: ac yn wreiddin llawer o feiau: Etto er hynny ei gŷd, y mae llawer yn tybied eu geni i fyw yn segur: megis llawer o foneddigion ieuaingc, ar Cyffelyb; y rhai a dybiant eu dyfod i'r bŷd i wneuthur, nid dim amgen ond hela, ac hebocca: a chwareu disiau, a chardiau, a dilyn anllywodraeth, a rhodres, a threulio eu dyddiau mewn melusswedd, ac oferedd. Drachefn y mae llawer o lwbîod pen drymmion, ac ebolfeirch pwdr-ddiog mewn trefi a phentrefi, heb wneuthur dim drwy'r dydd ond rhodio'r heolydd, eistedd wrth siopau, a mynych drammwy i'r tafarnau: Llawer o ddinasyddion goludog, yn bendifaddeu y gwragedd, a orweddant fynychaf yn eu gwelau hyd naw ar y glôch, ac yno a godant, ac a ymdacclant erbyn cinio.

Ac darfyddo ciniawa yn ddigonol, a dreuliant

liant y darn arall o'r diwrnod, a rhan fawr o'r nôs hefyd mewn chwareuon, chwedleuach, dadwrdd, fiaradach, fibrwd, fifial, a maldar. Ffei o'r fath fuchedd fegurllyd. Llawer o weifion afreolus hefyd a gam-dybiant, eu geni hwy yn vnig i chwareu, gloddeft, tyngu, putteinio, rhodreffa, Swaggrio, a threulio eu hamfer mewn feguryd.

Eithr am y rhai hyn oll da y dywedodd yr Athro Cenedlig: *Illos pariter indignantur & dij, & homines quifquis otiofus.* Duw a dŷn fy gas ganddynt y dyn fegurllyd.

*Theol.* Grefyndod mawr yw gweled cynnifer o wyr, a gwragedd yn y byd mor fegur, ac mor anfuddiol, ac y maent: Canys fywaeth y mae gormod heb ganlyn math yn y byd ar gelfyddyd ônest: yn byw yn ddifedr, nid gwell neb erddynt. Ni wnânt ddim da, nac ir eglwys, nac ir deyrnas. Tebig ydynt i gaccwn: gormes anfuddiol y byd ydynt. Ni wna Duw ddim defnydd o honynt: Nid oes iw gael oddiwrthynt na gwafanaeth i Dduw, na daioni ir eglwys, na llefâd ir wlâd, na budd i gymmydogion, na chardod i dlawd.

Meddwl y maent eu dyfod ir bŷd, nid i ddim amgen ond bwytta, ac yfed, a chyfgu a chyfodi i chwareu. Meddwl y maent y dylent dreulio eu hamfer ar ddifieu, a dawnfio, mewn putteindra, a gwychder, mewn glothineb, a moethufdra, yn ymlenwi fel

môch,

môch, ac yn rhythu eu boliau: yn tywallt iw potânau, yn ymbesci fel baeddod mewn cutt, hyd oni byddont yn ddigon breision, ac fel y dywed *Iob:* Mêr ei *esgyrn ef ydynt iraidd, tôdd efe ei wyneb a'i frasder, ac â wnaeth dyrch o floneg ar ei dynewyn.* Oh pa fuchedd anifeilaidd yw hon? Ffei o honi, ffei o honi cymwysach ydoedd i'r Epicureaid nac i Gristianogion, i fôch, nac iddynion: I Sardanapalus ac i Heliogabulus, ac ir cyfryw bol-dduwiau, nac i Broffeffwyr yr Efengyl.

Eithr am y cyffelyb ôll, digon yw'r hyn â ddywed *Iob: Treuliant eu dyddiau mewn daioni, ac yn ebrwydd y descynnant i'r bedd,* Iob. 21. 13.

*Phila.* Eithr oni ddichon bod yn rhŷdd neu yn gyfreithlon i Arglwyddi, ac i Arglwyddesau, i wŷr a gwragedd boneddigion, a rhai mawrion eraill, fyw yn segur, gan fod ganddynt ddigon o fodd iw cadw?

*Theol.* Nid yw Duw yn cennadhau i neb fyw yn segur: Ond pawb, mawr a bychan â ddylent fod ganddynt beth iw wneuthur ryw fodd neu ei gilydd: ie er llessâd ir eglwys, neu'r wlâd: Neu er mwyn cynnal lywodraeth dda ar eu teuluoedd: Neu er daioni i drefi, ac i blwyfau, ac ir rhai y maent yn byw yn eu plîth: Neu er cymmorth a chynhaliaeth y tlawd: Neu er llwyddiant yr Efengyl, a maentumiaeth

y weinidogaeth eglwysig: Neu er mwyn rhyw amcan da ne'u ei gilydd.

Ir tuedd-fryd hwn y dylid cymmwyso ein synwyr, ein dŷsc, ein cyfarwyddyd, ein callineb, ein cyfoeth, ein hiechyd, ein doethineb, ein rhwysc: Gan wybod hyn, fod yn rhaid dyfod, ryw ddydd, i roddi cyfrif o'n gorchwyliaeth, a bwrw hefyd pa fôdd y trinasom ein talentau.

Job. 5. 7. Am hyn y dywed *Job*: *Dŷn â aned i flinder fel yr ebeda gwreichionen yn vchel.* A Duw â osododd hyn ar Adda a'i holl hiliogaeth: sef drwy chwŷs dy dalcen y bwytei fara. Rhai a *osodant ar lawr* bedwar achos, paham y dylei pob rhyw ddŷn weithio yn ddiwyd yn ei alwedigaeth.

1. Er mwyn dwyn yr iau â osododd yr Arglwydd ar bob rhyw ddŷn.

2. Yn ail, er mwyn ynnill pethau angenrheidiol ir bywyd ymma.

3. Er mwyn byw yn fuddiol i gymdeithas ddynol.

4. *Yn* olaf, er mwyn gochelyd drwg-feddyliau, a drwg weithredoedd.

S. *Paul* sy'n beio yn fawr ar rai yn eglwys *Thessalonica*: am eu bod yn rhodio yn anllywodraethus: Sef yn segurllyd, ac heb ryw fâth ar gelfyddyd neu alwedigaeth gyfreithlon. Ac am hyn y mae efe yn gosod trefn, ynghylch y rhai ni weithiant, sef na ddylent gael bwytta. Felly ni â

2 Thes. 3. 10.

welwn

welwn yn eglur, nad yw Duw yn canniadhau i neb fod yn ſegur.

Canys pan fyddom yn ſegur (fel y dangoſwyd or blaen) yna agored ydym ir cythraul, ac iw broſedigaethau: Ac ynteu ſydd yn ymhyrddu i mewn ynom, ac yn ein gorchfygu. Tra yr arhoſodd y Brenhin *Dafydd* yn ſegur gartref, yn nechreuad y flwyddyn, prŷd yr arſereu Brenhinoedd fyned allan i ryfela, buan y daliwyd ef mewn dau bechod ffiaidd, ſef godineb, a llofruddiaeth. 2Sam.11. Tra fu *Sampſon* yn rhyfela yn erbyn y *Philiſtiaid* ni allwyd erioed nai ddal, na'i orchfygu: eithr wedi ymroi o honaw i ſeguryd, a maſwedd, efe nid yn vnig â wnaeth odineb gyd ar ddiffeithwraig *Dalilah*, ond hefyd â ddaliwyd gan ei elynion, ac a dynnwyd ei lygaid yn doſturus.

Y ſiamplau hyn a ddangoſant mor beryglus yw ſeguryd, Am hynny yr yſpryd Glân a'n denfyn i'r yſcol, at greadur bychan, ſef y morgrugyn: i ddyſcu ganddo, nid yn vnig ochel ſeguryd, ond hefyd arfer doethineb, a rhagluniaeth yn ein gweithredoedd. *Cerdda at y morgrugyn tydi ſegurllyd, edrych ar ei ffyrdd ef, a dyſc ſynwyr: Nid oes ganddo neb iw arwain, iw lywodraethu, nac iw feiſtroli, ac er hynny y mae efe yn parottoi ei fwyd yn amſer hâf, ac yn caſclu ei luniaeth amſer cynhaiaf.* Diha.6.6. Ac

mewn

mewn gwirionedd peth rhyfedd yw, o'i ystyried pa boen dibaid, a diddeffygiol a gymmer y creadur gwael hwn i gasclu yr hâf, fel y byddo ganddo ei gyfraid o gynhaliaeth erbyn y gaiaf.

Dyscwn ddoethineb oddiwrth ei siampl ef. Gosodwn y creaduriaid o flaen ein l'. gaid megis drŷch i edrych arnynt. Ystyriwn fod yr adar yn ehedeg, y pyscod yn nofio, y pryfed yn ymlusco, yr wybrennau yn troi oddiamgylch, yr awyr yn ymsymmud, y môr yn llenwi ac yn treio yn ddibaid: ie hyd yn oed y ddaiar yr hon yw y creadur trymmaf ac anystwythaf or lleill ei gyd, heb peidio er hynny vn amser ai gweithio, ond yn dwyn ei baich ar osteg yr hâf, a dirgelweithio oddifewn y gaiaf, er mwyn ardymheru a darparu ei chynnydd-faeth erbyn y gwanwyn neffaf.

Felly nyni a welwn fod y creaduriaid oll yn ddyfal ar waith yn eu rhyw eu hunain: Ac onid anferth, a chywilyddus i ni fyw yn segur, yn ddiofal, ac yn afreolus. Dyscwn bawb o hyn allan ochelyd rhag diogi, a byw yn ffyddlon, yn ddiwyd, ac yn boenus yn ein galwedigaethau neillduol: Fel y gallom gadw Satan ymmaith oddiwrthym, a bwrw llawer o b chodau allan o feddiant ein calonnau: y rhai oni bai hyn â dynn segurydd ar ein gwarthaf.

Phil.

*Phila.* Y mae yn rhaid i mi gyfaddeu, mai bai anafus yw segurydd ym mhwy bynnag y caffer, ond yn bendifaddeu ffieiddiach ydyw yn fy marn i mewn llywodraethwyr, ac eglwyswyr.

*Theol.* Gwir yw hynny. Oblegit hwynt hwy â ddylent fod yn gyfarwyddwyr, yn rheolwyr, yn fugeiliaid ac yn wilwyr i bobl Duw. Ac am hynny os hwynthwy â esceulusant eu dyled-swyddau, a'u gofal, peth anferth ydyw: oblegit bod hynny yn peri niwed i lawer. *Da* iawn y dywed y Poet cenedlig. *Ni ddylei llywodraethwr, neu eglwyswr fod yn ddiog, neu yn segurllyd: ir rhai hyn y gorchymynnir meithrin y bobl, ac i'r rhain y mae llawer o bethau i ofalu am danynt.* *Homer. Illiad. 2.*

Gan hynny, pa resyndod yw bod llywodraethwyr yn fydol, yn angrefyddol, yn Babaidd, yn anrhinweddol, ac yn esceulus yn nyled-swydd eu galwedigaeth? Pa faint mwy gresynol yw, pan fyddo'r Eglwyswyr yn esceuluso darllain, ac astudio, yn ddiog i bregethu, ac i weddio, ac yn ymroi, rhai i gybydd-dod, rhai i falchder, rhai i ysmonnaeth, rhai i ryw bryssurdeb bydol, a rhai i dreulio eu hamser yn segurllyd mewn tafarnau, yn ymŷsed, a chwareu, a gloddest, a rhodres, a dilyn cymdeithas ofer. Oh nad ymroddei y ddau fath hyn ar alwedigaethau cyffredin, i adael

ymmaith eu diogi, a'u ſeguryd ; ac i gyflawni dyledſwydd eu galwedigaeth yn ddiwid, yn ffyddlon, yn ofalus, ac yn gydwybodus : Oblegit rhagorol yw i bob mâth ar ddyn ſod yn ddyn da yn ei le.

Megis bod yn llywodraethwr da, yn rheoli yn dda, ac yn llywodraethu yn ſynhwyrol, gan achleſu ac ymddeffyn dynion da, ac achoſion da, ac ymoſod yn erbyn dynion drŵg, ac achoſion drŵg, drwy eu coſpi yn llym, ac yn dôſt : eithr ymgeleddu, a maentumio rhinwedd dda ; a hynny, o wir draſerch, a hoffder ei galon arni ; a cheryddu beiau o wir zêl, a chaſineb iw herbyn : Ac nid er mwyn ynnill cymmeriad yn vnig, neu er bodloni rhai : Neu o herwydd na ddichon amgen na gwneuthur hynny, neu o herwydd rhyw gau achoſion eraill.

Oad o wir gariad ar Dduw, a gofal am ei ogoniant ef, o gydwybod o'i ddylêd, a chaſineb diledrith yn erbyn pechod. Felly pethodiaeth yw bod eglwyſwr yn ŵr da yn ei le, yn gyfarwydd ynghyfraith yr Arglwydd : yn pregethu yn boenus, ac yn ddyfal : a hynny o gariad ar Dduw, ac awydd Duwiol i oſod allan ei ogoniant ef, ac o wir doſturi tu ag at eneidiau y bobl, gan wneuthur ei oreu ym mhôb modd i'w hynnill hwynt at Dduw : gan ei ymddwyn ei hûn

yn

yn ei holl fuchedd yn synhwyrol, yn grefyddol, yn ddiseius, ac yn ddidramgwydd.

Felly peth vrddassol yw bod yn ŵr cyfoethog da, yn gwneuthur llawer o ddaioni a'i gyfoeth: yn cadw tŷ da, yn syber wrth dlawd: yn gweini wrth angenrheidiau y Saint: ac yn cyfrannu yn llawen, ac yn synhwyrol lle y byddo rhaid.

Felly peth canmoladwy yw bod yn gymmydog da: yn ddinas-wr da, yn ymyl yr hwn y gallo dyn fyw yn llonydd, ac yn heddychol, yn llawen, ac yn gyssurus.

Ac i ddiweddu hyn o draethawd, peth da yw bod yn dlawd da, yn ostyngedig, yn issel-feddwl, yn vfydd, yn boenus, yn barod i wneuthur cymmwynas, ac yn ewyllysgar i fodloni pawb: Peth rhagorol yw hyn, a chlodfawr, pan fyddo pob dyn yn cadw ei le, ei gylch, ei drefn, ai bennod; pan fyddo pawb yn ofalus, ac yn gydwybodus am gyflawni dyledswydd eu galwedigaeth: pan wnelo'r gŵr ran gŵr, ar wraig ran gwraig: pan wnelo y tâd ran tâd, ar plentyn ran plentyn: pan wnelo'r meistr ran meister, ar gwas berthynas gwâs. Pan osodo pob dyn Dduw o flaen ei lygaid, gan wneuthur y pethau a berthynant iddo ef yn bendant: Canys yn hynny y mae yn sefyll anrhydedd Duw, gogoniant y Brenin, coron yr eglwys, amddeffyn y deyrnas, diogelwch dinasoedd, cadernid teyrnasoedd,

a

a gwir gynhaliaeth pob dyn.

Asune. *Da dros ben y dywedasoch mewn rhyw bethau: Ond nid wyfi yn gweled na ddichon cyfoethogion yn wyr ac yn wragedd fyw yn segur os ewyllysiant hynny; gan fod ganddynt ddigon o fodd iw cynnal, ac iw cadw: Canys onid cyfreithlon i ddyn wneuthur â fynno a'r eiddo ei hun?*

*Theol.* Nac ydyw. Canys nid cyfreithlon i chwi gymmeryd eich cyllell eich hûn, a'ch lladd eich hûn a hi. Ac nid rhŷdd i chwi chwaith gymmeryd eich bwyall eich hûn, a lladd eich plant. Am hynny nid yw dda y rheswm hwnnw. Er bod gan gyfoethogion helaethrwydd o bob peth, fel nad rhaid iddynt weithio: etto cymmerant ryw beth iw wneuthur a ddygo lesâd iddynt ffordd arall, rhyw beth daionus, megis mynych arfer o weddio, a darllain yr Scrythyrau, fel y gallont athrawu, a chynghori eraill. Neu gwnaed Arglwyddesau, a phendefigesau fel y gwnaeth gynt y wreigdda ddaionus *Dorcas*, Sef prynu brethyn, a lliain i ei dorri, ai weithio, ai wnio, a gwneuthur o honaw beisiau, a chrysau, a gwiscoedd, a rhoddant y rheini i'r tlodion: Canys fe ddy-
Acts.9. 36.39. wedir am *Dorcas, ei bod hi yn gyfoethog o weithredoedd da, ac o elusenau y rhai â wnaethei hi.* Gwraig drugarog, a thosturus ydoedd hi, a charedig i'r tlodion.

Hi a ddilladei y tlawd, ar noeth; hi a wy-

ddei

ddei fod hynny yn aberth cymmeradwy gan Dduw. O na bai gwragedd goludog ein gwlâd ni yn dilyn esampl *Dorcas*. Eithr nid yw'r dyddiau hyn sywaeth, yn dwyn nemmawr or fath ac ydoedd *Dorcas*.

*Phila.* Megis y dangosasoch i ni achosion y drygau or blaen: felly yn awr adroddwch i ni attolwg, achosion y bai hwn hefyd.

*Theol.* Achosion seguryd yw y rhai hyn,

Drwg-siamplau.

Drwg-feithrin.

Byw yn ddigelfyddyd.

*Phila.* Moeswch glywed y feddiginiaeth.

*Theol.* Y feddiginiaeth yw'r pethau hyn:

[...]ef,

Meithrin da.

Gweithio yn ieuangc.

Siamplau da.

Diwydrwydd mewn galwedigaeth gyfreithlon.

*Phila.* Gedwch i ni ddyfod bellach at yr [...]rwydd olaf o ddamnedigaeth, yr hwn yw [...]orthrymder. Ac mi â ddymunaf arnoch [...]ynegu eich meddwl am dano allan or [...]crythyrau.

*Theol.* Gwaith yw hwnnw mor anfeidrol [...]c na fedraf wybod, na pha le y dechreuaf, [...]ac ym mhâ fan y diweddaf: dyfn-bwll [...]liwaelod ydyw o bob mawr ddrwg echrylon. Dechreu ymadrodd am dano fyddei [...]echreu myned i ryw gat-berth ddyrys,

o ba vn nid wyf yn dirnad pa fodd y deuwn allan. Eithr o blegit eich bod chwi yn ewyllysio clywed am dano, hyn â ddywedaf am orthrymder: mai anghenfil creulon ydyw, pechod anafus gwaedlyd, ellyll anferth, gwrthun, ac vffernol yw. Yr scrythyrau mewn llawer iawn o fannau, ydynt yn llefain yn grôch yn ei erbyn, gan ei gyhuddo, ei farnu, ai gondemnio i waelod vffern, Ac yn cyhoeddi bygythion ofnadwy, megis mêllt a tharanau yn erbyn pawb â lygrir ac â halogir ar bai sceler hwn, gan arddodi iddynt y cyfryw enwau, a theitlau, ac a dynnir yn addas oddiwrth ffrwyth y pechod hwn, ac sydd yn gweddu yn gymmwysaf i orthrymwyr: sef *Eu bod yn malu wynebau y tlodion. Ac yn tynnu eu crwyn oddiam danynt: a'u cîg oddiwrth eu hescyrn. Eu bod yn eu bwytta hwynt fel y bwyttânt fara.*

Esay. 3. 15. Amos 8. 6. Mic. 3.2. Psal. 14. 4.

Dymma y rhai ydynt yn gweuthur egni i lyngcu y cwbl (fel anifeiliaid rheipus) ac i dynnu yr holl ddaiar tan eu meddiant eu hunain, bid drwg, bid da, bid iawn, bid cam, drwy orthrymder, twyll, a thrais. Y lindis ar mulfrain daiarol hyn ydynt big ir morfil, yr hwn â lwngc yn fyw scod bychain: neu debig ir llew, yr hwn â ddifetha anifeiliaid eraill; neu gyffelyb i'r gwalch yr hwn a ddeil yn ei gratangc, a blua, ac a fwyttu adar eraill.

Y

Y bleiddiaid gwangcus hyn ſy yn diſetha y cwbl, ac yn llyngcu holl dlodion y tîr. Am hyn y mae Prophwydi yr Arglwydd yn bygwth llawer gwae drom yn eu herbyn.

Yn gyntaf y Prophwyd *Eſai* a ddywed. Eſa. 5.8.
*Gwae y rhai ſy yn cyſſylldu tŷ at dŷ, ac yn cwplyſſu maes wrth faes, hyd oni bydd eiſieu lle, ac y trigoch chwi yn vnig yngbanol y tîr.*

Yn ail, y Prophwyd *Ieremi* a ddywed. Jer. 22.
*Gwae yr hwn a adeilado ei dŷ drwy anghyfiawnder, ai ſtafelloedd drwy anwiredd.* 13.

Yn drydydd, y Prophwyd *Micah* a ddywed. Mic. 2.2.
*Gwae hwynt, canys menſydd a chwennychant hefyd, a theiau a dreiſiant, ac a ddygant; gorthrymmant ŵr ai dŷ, dŷn ai etifeddiaeth.*

Yn bedwerydd y Prophwyd *Habacuc* ſy'n llefain gan ddywedyd. *Gwae a adeilado dref drwy waed, ac a ddarparo ddinas mewn anwiredd.* Hab. 2. 12.
*S. Jago* hefyd ſydd yn bygwth y cyffelyb ddynion yn dôſt iawn gan ddywedyd: *Iddo yn awr chwi gyfoethogion, wylwch ac vdwch am eich trueni â ddêl arnoch: eich cyfoeth a bydrodd: eich awr a'ch arian a rydodd, a'u rhwd hwynt a fydd tyſt yn eich erbyn chwi ac a yſſa eich cnawd fel tân.* Jag. 5. 1, 3.
Yn ddiwaethaf, *S. Paul* a ddywed yn eglur: *Na chaiff cribddeilwyr etifeddu teyrnas Dduw.* 1 Cor. 6. 10.

Mal hyn nyni â welwn faint o felldithion

on ofnadwy, a bygythion arswydus, a gyhoeddir or nefoedd yn erbyn cyfryw genawon gwangcllyd.

*Phila.* Ar cwbl yn ddigon bychan. Oblegit y maent wedi mwydo yn eu pechod, ar amliw oddiwrtho sy wedi myned cyn ddyfned, ac y bydd anhawdd byth ei gael allan. Gwir yw yr hyn â ddywedasoch, fod y gorchrechwyr sceler hyn megis yn sugno gwaed dynion, ac yn brysedach yffol mwyaf eu gwenwyn ar y ddaiar. Ac etto yr wyf yn tybied na bu erioed fwy o honynt nac sydd yn y dyddiau hyn. Oblegid yr awrhon y mae'r byd drygionus yn llawn or cyfryw rai, ac sydd mewn amryw fodd yn brathu, yn temmigo, ac yn gwascu'r tlawd ; fel y gwelwn beunydd wrth brawf a chydnabyddiaeth resynol. *Eithr chwi a fedrwch ddywedyd mwy na myfi am yr achos hwn : Am hynny attolwg i chwi ddangos yn eglur yr amryw fath ar orthrymderau, ar sy arferol a chynnefin yn y dyddiau hyn.*

*Theol.* Y mae gorthrymder drwy occreth:
Gorthrymder drwy wobrau.
Gorthrymder drwy godi ar ardrethi.
Gorthrymder drwy gymmeryd gormod cyllid blaen-llaw :
Gorthrymder mewn masnach.
Gorthrymder drwy ardrethu tir yn rhyddrud.

Gor-

Gorthrymder yn gosod tai, a meusydd yn vwch nac a dalont.

Gorthrymder drwy rwymo gwŷr tlodion i ammodau anrhesymmol.

Gorthrymder yn bwrw tlodion allan o'u tai.

Gorthrymder yn cymmeryd tai gwŷr tlodion vwch eu pennau.

Gorthymder mewn ffisoedd.

Gorthrymder gan gyfreithwyr.

Gorthrymder gan Swyddogion-eglwysig.

Gorthrymder drwy brynu yn rhâd, a gwerthu yn ddrud yr vn pethau.

Gorthrymder yn yr eglwys.

Gorthrymder yn y weinidogaeth.

Gorthrymder ar y tlawd.

Gorthrymder ar y gweddwon.

Gorthrymder ar ymddifaid.

Ac fel hyn ni a welwn fod gorthrymderau yn heidio ym mhlith pawb oll: ac nad oes dim ond gorthrymderau, gorthrymderau.

*Phil.* Mewn gwirionedd, creulon tros ben a gorthrymderus yw'r oes hon, yr ydym ni yn byw ynddi; ie, oes llwyt haiarnaidd yw. Tebygol nad yw y rhai mawrion yn mysyrio dim amgen, ond ymosod yn gwbl ar orthrymder; amlseferydd y maent, a breuddwydio am dano, a chael melusdra ynddo, ac am hynny yn ynfydu o honaw: fel

y dywed Salomon: Gorthrymder a wna ŵr doeth yn ynfyd. Tebig gan hynny fod y bai anafus hwn mor gadarngryf, ai fod yn gyrru dynion i wallgofi, a myned yn ynfyd Cynhwynol i glascu cyfoeth drwy drais a thwyll, nid gwaeth ganddynt pa fôdd, nac oddiar bwy, am y caffont.

Er hynny diammeu yw wneuthur or vnig synhwyrol Dduw lawer o gyfreithiau da i ddiffoddi y drŵg hwn; ac y mae efe yn bygwth dwyn dial am danynt drwyddo ei hûn: Ac yn bendifaddeu y mae ei gyfraith ef yn darparu dros ddiogelwch y tlawd, yr ymddifaid, y weddw, ar dieithr.

Eithr Chwychwi M. *Theologus*, â fedrwch goffau y cyfreithiau hyn yn well na myfi, o herwydd eich bôd wrth eich galwedigaeth yn bregethwr. Gan hynny adolwyn, gadewch i ni eu clywed hwynt gennych chwi.

*Theol.* Yn yr ailfed bennod ar hugain o *Exodus*, *Duw* â *wnaeth y gyfraith hon sy'n calyn: sef na orthrymmwch vn weddw, nac ymddifad: os gwnewch iddo ddim blinder: ac os gwaedda arnaf, myfi a lwyr wrandawaf ei waedd ef, am digofaint â ennyn, ac mi a'th laddaf ar cleddyf, a bydd eich gwragedd yn weddwon, a'ch plant yn ymddifaid.*

Exod. 22.21, 22,23.

Drachefn efe â ddywed; *na orthrymma wâs cyflog, yr hwn sydd anghenus, a*

Deut. 24. 14,15.

*thlawd*

*thlawd, ond ti a deli iddo ei gyflog am ei ddiwrnod, ac nad eled yr haul i lawr arno: (Canys tlawd yw, a thrwy hynny y cynnal efe ei enioes) rhag iddo lefain ar yr Arglwydd i'th erbyn di, a bôd hynny yn bechod ith erbyn.*

Ym mhellach yr Arglwydd â ddywed. *Na orthrymma, ac na flina y dieithr, Canys dieithraid fuoch chwi yn nhir yr Aipht. A Duw ei hun sy'n bygwth, y bydd efe yn dyst cyflym yn erbyn y rhai a attaliant gyflog y cyflogedig, ac a flinant y weddw, ar ymddifaid*, Exod.22.21. Mal.3.5.

Ar Apostol a ddywed. *Na fydded i neb orthrymmu na thwyllo ei frawd mewn masnach: Canys yr Arglwydd sydd ddialudd ym mhôb cyfryw beth*, 1 Thes.4.6.

*Salomon* hefyd a ddywed: *Os gweli mewn gwlâd dreisio y tlawd, a bwrw i lawr gyfiawnder, a barn, na rhyfedda er hyn: Canys y mae uchel yn gwilied ar uchel, ac y mae vn sydd uwch na hwynt*, Preg.5.8.

Y deddfau sanctaidd hyn, ar cyfreithiau yma oll â wnaethpwyd yn erbyn gorthrymder, ac a ddangosant yn amlwg pa ofal sydd gan yr Arglwydd dros ei bobl dlodion, cystuddiol, a diymgeledd.

*Phila.* Eithr yr vffern-gwn gorthrymmus hyn ydynt or cyfryw ddrwg athrylith ac na wnânt gyfrif o ddim. Ni ddichon yr vn o gyfreithiau yr Holl alluog DDuw eu ffrwyno

hwynt: nid oes dim a'i dychryna, dim a'i
Esay.28. hattal: hwy a wnaethant gyfammod ag
15. *uffern a marwolaeth.* Cedlo a wnaethant ar
eu sorod, nid ydynt yn ymwrando a dim.
Job. 24. Ac fel y dywed Iob. Dymma y rhai *sy'n*
13. *gwrthwynebu goleuni*: nid ydynt yn adnabod
ei ffyrdd ef, nid ydynt yn aros yn ei lwy-
brau ef. Y mae eu calonnau cyn galetted ar
Adamant, nid oes dim ai cynnyrfa hwynt:
dim a graffa arnynt. Y mae llefain mawr
ym mhôb man rhag y garreg yn y lwynau,
yr hwn yn ddiau sydd ofid blîn ir corph:
Ond nid oes dim achwyn rhag y garreg
yn y galon, fel y galon galed: yr hwn yw
y clwyf blinaf ar a ddichon ddigwyddo i
enaid dyn, ac etto yn yr amserau hyn tyfu y
mae yn anlliawn. Canys y mae calonnau dy-
nion cyn galetted ar prês, ac fel y maen me-
lin isfaf megis y dywed yr Scrythur. Ob-
legid llawer yn enwedig o'r anhrugarog,
ar gorthrymmus dreifwyr hyn â ddywedant
Zeph. 1. yn eu calonnau: Ni wna'r *Arglwydd dda,*
12. *ac ni wna ddrwg, am hynny y maent yn pellhau*
*y dydd drwg ac yn nessau at eisteddle trais.*

*Gorwedd y maent ar wely Ifori, ac ymmest-*
*yn ar eu gwâl, ac yn bwytta'r wyn o'r praidd*
*a'r lloi o ganol y cutt: y rhai a ddatcanant gyd*
*â llais y nablau. Dychymmygant iddynt offer*
*cerdd megis Dafydd: y rhai a yfant win me-*
*wn phiolau, ac a ymirant ar olew pennaf, ac*
*nid ymofidiant am ddryllio Joseph: Sef am*
*flinderau*

*flinderau pobl Dduw*, Amos 6. 4, 5.

Y Prophwyd Esay hefyd sy'n achwyn yn erbyn y fâth ddynion ar rhain, gan ddywedyd. *Am waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwylaw ef ni welant.* Esay. 5. 12. Prophwyd arall â ddywed, *y dywedant yn eu calon anghofiodd Duw. Cuddiodd ei wyneb, ni wêl efe byth: yr annuwiol gan ei falchder ni chais Dduw, nid ydyw Duw yn ei feddyliau ef, vchel yw ei farnedigaethau o'i olwg ef.* Psal. 10. 5, 6, 11. Dywedodd yn ei galon ni'm symmudir, o herwydd ni byddaf mewn drygfyd hyd genedlaeth, a chenedlaeth.

*Theol.* Chwi â ddywedasoch yn dda tros ben am donnogrwydd, a chaledwch calon y dynion hyn, y rhai ydynt mor anrhugarog wrth eu cymmydogion truein, ac braidd y dichon neb fyw yn eu hymyl. Mor flinion, ac mor aflonydd ydynt, ac na chaiff y tlodion heddwch i drigo yn agos attynt. Gwir â ddywed y Brenin doeth. *Gŵr cadarn â flina bawb, ac sydd yn rhoddi gwerth i'r rhai â ânt heibio, ond gŵr tlawd â lefara trwy ymbil:* Set drwy erfyn, ac ymbil. Oblegit y mae'r tlawd yn eu hofni: ac yn crynu pan eu gwelant, fel y cryna yr anifeiliaid pan rûo y llew. Llawer o gymmerwyr tlodion, o lafurwyr tlodion, o fugeiliaid tlodion, o weithwyr tlodion: Llawer o weddwon, a chyflog-ddynion â ddychrynant, ac â grynant pan

ddêl y bleiddiaid gwangcllyd hyn i rodio allan.

Ac fel y dywed *Iob : Tlodion y ddaiar â*
Job. 24. 4. *gyd-ymguddiant.* Canys ( gwae eigion eu calonnau, ni allant oddef edrych arnynt) nid gwaeth ganddynt gyfarfod â chythraul, na chyfarfod ag vn o honynt ; rhag ofn rhyw atcafrwydd. Oblegit ofni â wnant rhag cael rhybudd i ymmadael a'u tai : Neu ddirio arnynt am ychwaneg o ardreth, ac ammodau caethach : neu gymmortha vn o'u gwartheg teccaf : Neu fenthyccio march : Neu geisio ŵythnos o waith, heb dalu byth am dano : Neu bersa tros amser i farch, neu i fuwch : Neu rhag iddynt dynnu rhyw gweryl yn eu herbyn, a gwneuthur iddynt ryw ddrŵg. Y truain hyn ni fedrant ddirnad pa beth â wnânt, nac i ba le y ffoant, rhag ofn y rhuadwyr hyn. Blîn ydynt o'u bywyd, Mynych y dymunent eu bôd allan o'r bŷd, pan na byddo ganddynt ddim ymddeffyn i ymachub, ond gorfod goddef fel y gallont. O herwydd hyn y dywedant weithiau, y maddeuent i bwybynnag ai tarawei hwynt yn eu talcennau.

Oh gyflwr tosturus ; ô ymmadrod gresyn ei glywed : rhaid yw i'r creaduriaid truein hyn ymdrafferthu, ac ymffwdanu, drwy'r flwyddyn, hâf a gaiaf, ar rew, ac eira, ar fwdaniaeth, ac oerfel, i gasclu

clu ynghyd eu cyllid, a'u hardrethi, er mwyn gallu talu iw meistr-tîr addig yn ei ddydd. Os amgen pa fodd y gallant edrych yn ei wyneb ef? Er bod eu hardreth wedi ei godi cyfuwch, ac mai digon bychan i dalu, yw'r cwbl â allant hwy ei wneuthur. Ac wedi talu hynny (gwae fi) ni bydd wedi ei adael i'r gŵr tlawd, ac iw wraig, ai blant, onid ychydig iawn tu ag at eu cynhaliaeth. Y mae yn gorfod iddynt gnoi crystau, bod ar brinder bwyd, ac yn llymmion eu cadachau: weithiau y bydd ganddynt beth iw fwytta, ac weithiau ni bydd dim, ond y plantos druein yn llefain am fara. Mynych y ceir yn wylofain yn eu tai, wrageddos gweddwon truein, a phlant ymddifaid yn athrist, ac yn bruddion yn yr heolydd. Yn gymmaint ac yn y dyddiau hyn y gallwn gyd â *Salomon droi, ac ystyried yr holl orthrymderau tan yr haul, nyni â allwn weled dagrau y gorthrymmedig heb neb yn eu cyssuro*, Preg. 4 1.

Oblegit y cryfion â dreisiant y gweniaid, megis y bydd yr anifeiliaid cryfaf yn rhuthro, ac yn bustachu y gwannaf. Y gorthrymwyr ffyrnig hyn â wascant y tlodion hyd y byw. Cippiant oddiar yr ymddifaid ar gweddwon yr ychydig â fyddo ganddynt. Er na byddo ond buwch neu ychydig ddefaid wedi eu gadael, hwy â gymmerant hynny.

O bydd ychydig fael, ac elw iw gael oddiwrth dŷ, neu erw o dir, pa yſtrywiau â ddychymmygant i luſco hynny i mewn tan eu ewinedd eu hunain. Y treiſwyr hyn â waſcant ar eu deiliaid cyn dosted a dwyn y gwely y gorweddant arno. Hwy â wyddant yn ddigon da, na ddichon y tlodi hyn ymgyfreithio â hwynt: ac am hynny hwy a allant wneuthur y cam a ſynnont, a dangos pa greulondeb bynnac a ewyllyſiant. O hyn y mae yn dyfod dagrau y gorthrymmedig: O hyn y mae yn dyfod wylofain, a chwynfan y tlawd. Eithr ôch y druain, wylofain a allant i yſcafnhau peth ar eu calonnau: ond nid oes neb iw diddanu, na dim iawn iw gael.

Eithr diau fod y tragwyddol Dduw yn eu canfod, ac y myn efe ddwyn dial arnynt. Oblegit gwaedd y tlawd, yr ymddifaid, ar gweddwon a ddaeth i gluſtiau Arglwydd y lluoedd, yr hwn ſydd ddialudd ar bob cyfryw beth: Ie dialudd cadarn fel y dy-
Diha.23. wed *Salomon: Na ſymmud hên derfyn, ac*
10, 11. *na thyret i feuſydd yr ymddifaid, Canys eu dialudd hwynt ſydd nerthol, ac â amddeffyn eu cweryl hwynt yn dy erbyn di.* Drachefn
Diha.22. y dywed. *Nac yſpeilia 'y tlawd o herwydd ei*
22. 23. *fod yn dlawd, ac na ſathr yr anghenus mewn barn: Canys yr Arglwydd â ddadleu droſtynt, ac â orthrymma enaid y neb a'i gorthrymmo hwynt.*

Nyni

Nyni á welwn wrth hynny, y dŵg y Duw cyfiawn ddialedd ar y gorthrechwyr anhrugarog hyn. Ni ollwng efe bob amser yn ddigosp y cyfryw gam, a thraha á wneler ar y tlawd.

Yn yr wythfed bennod or Prophwyd *Amos*, *Y twng efe i odidawgrwydd Iacob, nad anghofia efe byth eu gweithredoedd hwynt.* Drachefn drwy'r Prophwyd *Ieremi* y dywed. *Oni ddialaf ar y cyfryw genedlaeth a hon.* Jer. 5. 9.

Diammeu y gesyd efe ei wyneb yn eu herbyn iw difetha ymmaith oddiar y ddaiar, Oblegid nid ydynt deilwng i ymlusco ar wyneb y ddaiar: nac i anadlu ym mlith meibion dynion. Scrifennedig yw yn llyfr y Psalmau, y gesyd Duw y cyfeillion hyn gyferbyn ag ef, megis gwal i saethu attynt; *y gesyd efe hwynt ar y naill du, ac y paratoa efe saethau yn ei linynnau yn erbyn eu hwynebau*, Psal. 21. 12.

Synna am hyn o nefoedd: a chryna dithau oddaiar: Gwrandewch chwithau y feilired tiroedd creulon, Gorthrechwyr sceler, a gelod y ddaiar. Da y gellir eich cyfenwi chwi gelêod, Canys sugno yr ydych chwi waed llawer o wŷr, gwragedd, a phlant tlodion; ei fwytta, ai yfed yr ydych. Hwnnw a osodir ar eich byrddau moethus: ei draflyngcu yr ydych bob dydd, ac ymborthi, a bywarno.

Ac megis y dywed *Job.* 24.5 *Y diffeithwch sydd yn dwyn iddynt fwyd, ac iw plant*: Megis pe dywedasai: Ar yspeilio, a llâdd yr ydych chwi yn byw. Eithr gwae chwi erioed, eich geni oblegit gwaed y gorthrymmedig yr hwn â fwyttasoch, ac â yfasoch â waedda, ryw ddydd am ddial ar frŷs i'ch erbyn, fel y llefodd gwaed *Abel* yn erbyn *Cain*.

Eu gwaed hwynt â destiolaetha i'ch erbyn yn nydd y farn. A dagrau llawer o blant newynog, ac ymddifaid, a gweddwon â waedda yn grôch i'ch erbyn.

A ddialodd Duw ar *Ahab* am ei weithred greulon ac anghyfiawn yn erbyn *Naboth* wirion, ac oni ddial Duw arnoch chwi? A lyfodd cŵn waed *Ahab*, ac a ddiengwch chwi? Nagê, ni ddiengwch chwi ddim. Yr Arglwydd fydd tŷst cyflym i'ch erbyn, fel y dywedodd yn *Malachi*? A ddigiod yr Arglwydd wrth gyfoethogion y bobl am orthrymmu y tlodion, (fel y clybu yr Holl-Alluog waedd ei bobl a'u gwragedd, yn erbyn eu gorthrymwyr) ac â dybygwch chwi y cewch ddiangc yn ddichlin? Oni ddŵg yr vnrhyw achos yr vnrhyw ddigwyddiad, a'r cyfryw bechod y cyfryw gospedigaeth? Gan hynny gwybyddwch yn lle gwir, fod gan yr Arglwydd gifftiau yn llawn dialedd i'ch erbyn: a bod diwrnod yn dyfod pan agoro efe y rheini, ac y

dygo

1 Bren. 21. ac pen. 22.

Neh 5.

dygo hwynt allan yngolwg pawb ôll.

Gwybyddwch hefyd am drawſtiau eich tai, a cherrig eich muriau, y rhai a adeiladaſoch chwi drwy orthrymder, a gwaed, y rheini â leſant yn eich erbyn yn nydd digofaint yr Arglwydd. Fel y dywed y Prophwyd. *Y garreg â leſa or mur, a'r trawſt â ettyb o'r gwaith coed.* Lle y dywed y Prophwyd wrthych, y llefa parwydydd eich tai, â adeiladwyd drwy waed, y gwaedda y rheini yn vchel, gad atteb eu gilydd o'r ddeutu megis cantorion mewn Côr. Y naill du a leſa, wele waed: a'r tu arall wele lâdd: y naill du wele dwyll, a'r tu arall wele greulondeb: y naill, wele gribddeilio ac yſpeilio; y llall, wele gybydd-dra: y naill â gân, wele anrhaith: y llall, wele anudonedd. Hab.2. 11.

Ac fel hyn chwi â welwch pa wedd y bydd coed a cherrig eich tai yn canu byrdwn i'ch erbyn. A pha ſodd bynnac y gwiſcoch tros amſer wynebau o brês, ac y calcdoch eich calonnau yn erbyn bygythion yr ofnadwy Dduw, ac Arglwydd y lluoedd: Etto y mae y dydd yn dyfod y dygir chwi i'r farn, bid bodd, bid anfodd, heb yn waethaf yn eich dannedd.

Chwi â ddeuwch vnwaith i'ch cyfrif. Fe a'ch delir ar y diwedd, ac a'ch dygir ger bron gorſeddfaingc Duw, ac a'ch bernir o flaen Pen-Barn-wr y byd. Yna yr â barn yn eich erbyn; ſef y farn ofnadwy; *Ewch chwi* Math.25. 41.

*chwi felldigedig i dân vffern, i'ch penydio yn dragywydd gyd â diafol a'i Angelion.* Oh gan
Math. 16. 26. hynny, gwae, gwae chwychwi: Canys pa *lesâd yw i ddŷn er ynnill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hûn?* medd yr Arglwydd Jesu. Yn wir ynghylch cymmaint ac pe bai ddŷn yn ynnill ffyring, ac yn colli can mîl o bunnau.

Oblegyd os i Ufferny teflir yr hwn ni roes ei dda cyfiawn ei hûn fel y dywed ein Achubwr: ac os colledig sydd yr hwn ni ddilladodd y noeth: i ba le y bwrir yr hwn â ledrattodd dda rhai eraill? A pha beth â dderfydd i'r hwn â ddinoethodd y dilladog?

Gan hynny, edifarhewch mewn prŷd o chwychwi orthrechwyr creulon. Ceisiwch yr Arglwydd tra y caffer ef: Gelwch arno tra fyddo yn agos, ymadewch a'ch ffyrnigrwydd anifeilaidd. Ymwelwch ar ymddifaid, ac ar gweddwon yn eu hadfyd.

Rhennwch eich bara i'r newynog. Cynnorthwywch y rhai â oddefant gam, i gael eu cyfiawnder. Gwnewch drugaredd a'ch deiliaid. Na chodwch mwyach ar eich ardrethi. Na wescwch ar y truein tros y rhai y bu Crist farw.

Tosturiwch wrthynt, meddaf, ac na chyfluddiwch hwynt. Dangoswch iddynt diriondeb, â charedigrwydd: Meddyliwch am

am eich cyfrif mawr. Ystyriwch fyrred yw eich enioes, ac oferedd eich buchedd. Ymchwelwch at yr Arglwydd a'ch holl galon mewn ympryd, wylofain, a galar. Dyhuddwch ei ddigilonedd ef a lloi eich gwefusau, ac ag yspryd drylliedig. Ymofidiwch am a aeth heibio, a diwygiwch yr hyn sydd etto i ddyfod.

Na wrthsefwch mwyach yn erbyn Duw: Canys ni thyccia i chwi ymryson ag ef: y mae efe yn rhy-gryf i chwi: yr vnig synwyr i chwi, yw dyfod atto yn ostyngedig, ac ymgymmodi ag ef.

Deuwch atto, deuwch atto, chwi genedlaeth wrthryfelgar: ymddarostyngwch i'r Brenin Ardderchog. Byddwch issel-feddwl, ac vfydd tan ei law nerthol ef. Teflwch ymmaith oddiwrthych eich cleddyfau, a'ch tariannau, ac ymroddwch i'n Duw ni. Felly y diangwch rhag y dialedd a ddêl. Felly y derbyn Duw chwi: y trugarha wrthych, y byddwch yn gymmeradwy gyd ag ef, y dyry i chwi faddeuant o'ch holl bechodau, ac i'ch derbyn i nifer ei ddeiliaid cywir, a ffyddlon.

*Phila.* Yr wyfi yn deall wrth amryw ymadroddion a draethasoch chwi, na cheir hir lwyddiant o'r da a gascler drwy orthrymder, a thrais: Canys gorthrechwyr ydynt yn bathu eu harian ar grwyn eu cymmydogion: pa fodd wrth hynny y bydd bendith arnynt.

*Theol.*

*Theol*. Gwir â ddywedaſoch. Oblegit megis y mae y da hynny yn felldigedig (fel y clywſom or blaen) y rhai â gaſclwyd drwy dyngu, a chelwydd: Felly y mae y rhemni hefyd yn felldigedig, y rhai â grynhoer drwy orthrymder, a thrais. Am hynny y dywedodd yr Arglwydd drwy'r Prophwyd *Ieremi*. *Fel petris yn eiſtedd, ac heb ddeor yw'r hwn â helio gyfoeth yn anheilwng. Yn hanner ei ddyddiau y gedu hwynt: ac yn ei ddiwedd, ynfyd â fydd efe*, Jer. 17. 11.

*Phila*. Och Dduw, na wnai ein llywodraethwyr ni, a'n ſwyddogion ryw drefn ar frŷs i ddiwygio y pethau hyn: ac i wellhau y beiau ſyrhaed-lon ſydd yn ein plith. Neu na frathent hwy eu hunain i mewn, a gwaredu y gorthrymmedig o law y gorthrymmwr.

*Theol*. Odiaeth oedd *Iob* am y fâth beth â hynny. Canys am dano ef y dywedir: Drylliwn hefyd gil-ddannedd yr anghyfiawn, a gwnawn iddo fwrw'r ſclyfaeth allan o'i ddannedd. Felly ni â welwn fod *Iob* yn peri gwaredu y gwirion, *a thynnu yr oen allan o grafangau y llew*. Scrifennir am dano ym mhellach yn y bennod honno: *Bendith y colledig â ddeuei arnaf, a gwnawn i galon y*
Iob. 29. 3,15,17. *wraig weddw lawenychu: llygad oeddwn i'r dall, a thraed i'r clôff, a thâd i'r anghenog; a'r cwyn yr hwn nid adwaenwn, â chwiliwn allan*. Oh na wŷr rhagarol oedd hwn. Oh na

bai

bai gennym lawer o fâth *Iob*, yn y dyddiau hyn. *Salomon* ddoeth yn synhwyrol tros ben sy yn ein cynghori ni bawb i ddilyn siampl *Iob* yn hyn o beth. *Gwared (medd efe) y rhai â orthrymmir, ac â luscir i angeu : Canys pa-bam y gadewit ti y rhai â dynnir i farwolaeth?* Dih.24. 11.12.
Mi â ddymynwn, pe gwelei Duw yn dda, gael o'r cyngor hwn ei iawn-ystyried, ai arfer yn ein plith ni.

*Phila.* Y mae yn rhyfedd gennifi pa fodd rhag cywilydd y beiddia y gorthrymwyr creulon hyn ddangos eu hwynebau o flaen Duw yn ei deml sanctaidd, i weddio, ac i offrwm eu gwasanaeth iddo. Canys nyni a welwn am lawer o honynt, er bod ganddynt ddwylaw budron, a chalonnau aflan, fel y clywsom; etto hwy â rysygant, heb ar-nynt ddim gwladeidd-dra, ddyfod i'r eglwys, a gweddio, neu o'r hyn lleiaf wrth orwedd yn eu gwelau y nôs, a brith-gyscu, y byddant weithiau yn sisial eu gweddiau, ac yn sibrwd ymbell air o ryw bader noster.

*Theol.* Gwae hwynthwy eu ffoled : Nid yw yr hyn oll â wnânt yn escus gwasanaeth i Dduw, ond rhagrith, a ffuant. Canys mewn gwirionedd ni wnânt gyfrif o Dduw : hwy a'u carant ef ar eu tafodau yn unig: eithr eu calonnau â ant ar ôl cybydd-dod; a'u dwylaw sy yn llawn gwaed, ac am hynny ffiaidd gan Dduw hwynt a'u gwe-ddiau

Esay. 1. 15. ddiau hefyd. Canys efe â ddywed: *Pan estynnoch eich dwylo, y cuddiaf fy llygaid rhagoch: Hefyd pan weddioch lawer, ni wrandawaf, eich dwylo ydynt yn llawn gwaed.*

Ym mhellach yr yspryd glân â ddywed. Dih. 28. 9. *Y neb a drŷ ei glust ymmaith rhag gwrando'r gyfraith sydd ffiaidd ei weddi hefyd.* A Dafydd â ddywed: Psal. 66. 18. *Pe edrychaswn ar anwiredd yn fynghalon, ni wrandawsei'r Arglwydd.* Yr Efengyl â ddywed hefyd, Iohn 9. 31. *Ni wrendu Duw ar bechaduriaid*, ond pechaduriaid gwargaled, a difraw. Felly nyni a welwn yn eglur (wrth yr holl dystiolaethau hyn or Scrythyrau sanctaidd) pa groesaw gyd â Duw sydd i weddiau Gorthrechwyr, ac i bob mâth ar ddynion anghrefyddol, ac annuwiol: Sef mai câs ganddo hwynt megis pethau drewedig, a gwrthwynebus yn ei olwg ef.

*Phila.* Bellach i ddibennu hyn dangoswch i mi achosion gorthrymder.

*Achosion gorthrymder.* *Theol.* Yr achosion ywy rhai hyn.

Creulondeb.

Cybydd dod.

Calon-galedwch.

Cydwybod Ddrwg.

Diafol.

*Phila.* Moes wch glywed hefyd beth yw'r cyphyriau meddiginiaeth.

*Theol.* Y pethau hyn: did amgen.

Tosturi.

Bod-

Bodlonrhwydd.
Caredigrwydd.
Cydwybod dda.
Aml weddi.

*Ymwared yn erbyn gorthrymder.*

*Phila.* Bellach Sir, megis y darfu i chwi draethu eich meddwl yn helaeth am y drygau bydol anafus, â grybwyllwyd or blaen: a phrofi yn oleu, ac yn hysbys eu bod hwy yn wenwyn marwol i'r enaid: Felly hefyd attolwg i chwi ddangos i ni hyn; onid ydynt yn ddrŵg ar lês y corph, y cyfoeth, a'r enw da.

*Theol.* Myfi â sefais yn hwy ar y beiau cyffredin hyn, o herwydd bod pôb mâth ar ddynion gan mwyaf wedi eu llygru a rhai, neu rhyw vn o'r drygau hyn. Ac am hynny ni ellir byth ddywedyd digon yn eu herbyn.

Canys y mae'r *holl fyd yn gorwedd yn y* pethau hyn, fel y tystia *Ioan* Sanct. Pe gellid iachau dynion o'r clwyfau hyn, diammeu y gwneid llwybr hyfforddd i gael helaethrwydd o râs: ac ni a gaem eglwys lwyddiannus, a gwlad hyfryd: Ond tra fyddo'r pethau hyn yn rhwystr ar y ffordd, pa obaith sydd o gael doniau helaethach, a bendithion mwy rhagorol i'w tywallt arnom? Neu allu o honom byth gyrhaeddyd ymarweddiad gyweithas, a chymmeradwy gyd a Duw. 1 Ioan 5. 19.

Ob-

Oblegit y beiau hyn ydynt yn dallu ein llygaid, yn trymhau ein calonnau, ac fel y dywed y Prophwyd *Ieremi*, *yn attal daioni oddiwrthym*, Jer. 5. 25.

Eithr am eich dymmuniad chwi, y mae yn rhaid i mi gyfaddeu: megis y mae y drwg-gampau hyn yn wenwyn marwol i'r enaid, ac yn arwyddion eglur o ddamnedigaeth: Felly y maent hefyd yn dra peryglus i'r corph, i'r cyfoeth, ac i'r enw: Ie ac i'r holl wlâd, yn gystal eglwys, a theyrnas.

*Phila.* Dangoswch allan o'r Scrythyrau pa enbydrwydd â ddygant i'r corph.

*Theol.* Yr Arglwydd ein Duw a ddywed. *Os fy neddfau a ddirmygwch, ac os eich enaid a ffieiddia fy marnedigaethau, heb wneuthur fy holl orchymynnion, gan dorri o honoch fy nghyfammod, minnau hefyd a wnâf hyn i chwi: Gosodaf yn oruchaf arnoch ddychryn, darfodedigaeth, ar crŷd poeth, y rhai â wnânt i'r llygaid ballu, ac â ofidiant eich eneidiau*, Levit. 26. 16.

Efe a ddywed hefyd: Os nyni nid vfyddhawn iw leferydd ef, i wneuthur ei holl orchymynion, ai ddeddfau: y gwna efe i *baint lynu wrthym nes ein difa: y taro efe nyni a chwŷdd, ac a chrŷd poeth, a chornwydion yr* Aipht, *a chlwy y marchogion, a llosefa, ac a gwrês: hefyd y taro efe ni ag ynfydrwydd, a dallineb, ac a syndod calon.*

Deut. 28. 21, 27, 28.

Felly

Felly chwi a welwch pa ddrygau angu-
riol a fygwth yr Arglwydd eu dwyn ar ein
cyrph yn y byd ymma, am y pechodau hyn,
a'u cyffelyb. Eithr yn y gwrthwyneb, yr
yspryd glân a ddywed: *Ofna yr Arglwydd, a
thynn ymmaith oddiwrth ddrygioni: hynny
fydd iechyd i'th fogel, a mêr i'th escyrn.*
Dihar.3 7.8.

*Phila.* Pa ddrŵg a ddŵg y pechodau
hynny a grybwyllwyd or blaen, ar ein da
ni, a'n cyflwr bydol?

*Theol.* Hwy â gymmellant Dduw i'n
melldithio ni ym mhôb peth y gosodom
ein dwylo arno: Megis y mae yn eg-
lur yn y pennodau â henwyd or bla-
en: Lle y dywed yr Arglwydd fel
hyn.

*Oni wrandewi ar lais yr Arglwydd dy
Dduw: melldigedig fyddi di yn y ddinas, a
melldigedig yn y maes: melldigedig fydd dy
gawell, a'th does di: melldigedig fydd ffrwyth
dy grôth, a ffrwyth dy ddaiar, mwyniant dy
wartheg, a chorlannau dy ddefaid. Melldige-
dig fyddi di yn dy ddyfodiad, a melldigedig
fyddi di yn dy fynediad. Yr Arglwydd â
ddenfyn arnat ti felldith, trallod, a cherydd
yn yr hyn ôll yr estynnech dy law arno, ac yn
yr hyn a wnelech nes iddo dy ddinistrio, a'th
ddifetha di yn gyflym am ddrygioni dy wei-
thredoedd, yn y rhai i'm gwrthodaist fi.* Ac
ym mhellach efe â ddywed. *Y torrei efe ffon*

*y bara: a dêg o wragedd a bobant eu bara mewn un ffwrn, ac hwy a roddant drachefn eu bara wrth bwys: ac hwy â fwytânt, ac nis digonir*, Levit. 26 26.

Chwi a welwch gan hynny y tynn y pechodau hyn ddigofaint Duw arnom, ac ar a feddom.

*Phila.* Pa niwed a wna y pechodau hynny or blaen i'n enw da ni?

*Theol.* Hwy a ddygant arnom ddannodiaeth, cywilydd, ac anglod: ac a barant i bôb gŵr da ein ffieiddio, a'n distyru. Llwyr ddiffoddi a wnânt ein holl eirda, a'n cymmeriad.

Oblegit megis y mae rhinwedd dda yn gwneuthur dynion yn anrhydeddus, ac yn barchedig: felly drygioni â wna ddynion yn wael, ac yn ddirmygedig. Hyn â eglurir lle y mae yr Arglwydd yn bygwth *Israel*: mai am eu pechodau, a'u hanufydd-dod y gwnai efe hwynt *yn ddihareb, ie yn ddannodiaeth, ac yn rhyfeddod ym mhlith y bobl oll.* Mewn amryw fannau eraill or prophwydi y mae efe yn bygwth, am eu pechodau eu gwneuthur hwynt *yn wradwydd, yn gywilydd, ac yn rhai i ysgwyd pennau arnynt gan y cenedloedd oll.*

*Gwyd. Beiau.*

1 Bren. 9. 7.

Ezec. 5. 15.

*Phila.* Yr wyfi yn ddiau yn tybied: megis y mae pechod yn gyffredin, yn llygru neu yn difwyno geir-da pob dyn: yr hwn sy gû, ac annwyl gan bawb: felly difwyno y

mae

mae yn enwedig y sawl ydynt mewn galwedigaethau vchel, a chymmeriad mawr o herwydd dŷsc, doethineb, a duwioldeb.

*Theol.* Chwi a ddywedasoch y gwir yn vnion, ac yn gysson ar Scrythrau: Canys yr Scrythur â ddywed: *Gwybed meirw â ddrewant, ac â ddifwynant ennaint yr Apothecari: felly ychydig ffolineb a ddifwyna ŵr ardderchog oherwydd ei ddoethineb, a'i anrhydedd.* Lle y dengys *Salomon*, os â gwybedyn i flŵch ennaint yr Apothecari, a marw yno, a drewi ynddo, efe a'i difwyna oll er daed fyddo: felly o chaiff pechod bychan fyned i mewn i galon, a thorri allan i dalcen gŵr tra enwog am ryw rinweddau rhagorol, y pechod bychan hwnnw a'i difwyna ef, a bair iddo anglod, er maint ei gymmeriad. Preg. 10. 1.

*Phila.* Dangoswch hyn, adolwyn yn eglurach.

*Theol.* Dal sulw ar hyn yr ydym ym mhob profiad: o bydd pennaeth yn ŵr da, ac ynddo lawer o ddoniau rhagorol, o rywiogeiddrwydd, dioddefgarwch, gostyngeiddrwydd, a chariad i wîr grefydd: er hynny os bydd efe yn chwannog, y bobl gyffredin a graffant ar hynny yn fwyaf, ac â ddywedant, y cyfryw bendefig sydd ŵr da iawn, oni bai vn peth; y mae efe yn chwannog dros ben, yn gorthrymmu tlodion, yn dôst wrth eu ddeiliaid, heb gadw

tŷ

tŷ iawn, ac yn gwneuthur ychydig ddaioni yn y wlâd lle yr erys. A hyn yw'r peth sy'n dyfwyno'r cwbl. Ymhellach, gedwch i farnwr, neu ynad, neu llywodraethwr fod wedi ei gynysgaeddu a champau nodedig o gallineb, synwyroldeb, cymmedrolder, haelioni, a chyfarwyddyd yn y gyfraith: Etto os bydd efe yn ŵr digllon, yn cymmeryd gwobrau: Oh mor flîn a fydd hyn gan y bobl: Canys hwy â ddywedant: Gŵr odiaeth yw mewn gwirionedd, ond y mae vn peth ynddo yn difwyno'r cwbl: gŵr digllon a chyffrous dros ben yw: y mae mor ddigllon ar gyccynen: efe â ffrommi yn aruthr am ben y blewyn: efe â gyffry, ac a frocha os edrychir arno. Ac heb law hyn, aruthr mor anghyfiawn ydyw: efe â gymmer wobr yn anrhesymol: odíaeth ganddo gael iro ei law: fe â wna'r peth a fynnoch am werth.

Etto ymhellach, o bydd Pregethwr â chanddo rôdd ragorol, y Cyffredin bobl â ddywed am dano: Oh gŵr perffaith yw yn wir, odiaeth o ddŷsc, Scrythyr-wr trwyadl, gŵr nodedig mewn pulpit: ond etto er hyn ei gŷd y mae arno ftremp yn difwyno'r cwbl, y mae yn falch anguriol: y mae efe cyn falched a Luwciffer. Yn ficcr y mae ganddo ddoniau rhagorol: ond mi â attebai i chwi y gŵyr efe hynny yn ddigon dâ.

Canys y mae ganddo ymddygiad vchel,

ac

ac a edrych yn farrug, ac yn fcoewan ar bawb eraill: y mae yn chŵydd hyd yr ên o falchder: yn tybied o honaw ei hûn yn well nag o néb.

Mal hyn ni â welwn pa wedd y mae y gwybed meirwon yn difwyno'r cwbl: a pha fodd y mae rhyw vn pechod yn peri gogan i ddŷn, â fyddei, oni bai hynny yn rhagori.

*Phila.* Beth yw'r achos, fod rhyw vn pechod yn peri y fath angoel, ac anglod ir dynion perffeithiaf?

*Theol.* Y rhefwm yw hyn: am fod y cyfryw ddynion megis canwyll wedi ei gofod mewn canwyllbren, neu yn hytrach ar fryn i bawb iw chanfod, ac i graffu arni: a diogel yw fod mil o lygaid yn edrych arnynt bob dydd.

Ac nid yn vnig yn eu canfod, ond hefyd yn manwl graffu arnynt, i weled y brycheun lleiaf, fel y gallent wneuthur mynydd o honaw.

Canys megis ar bappur gwyn glân y gwelir yn amlwg y blottyn lleiaf: ond mewn llarp o bappur llwyd prin y gellir dirnad er bod ynddo vgain o flottiau; yn yr vn môdd mewn Barnwyr, Swyddogion, Ustufiaid, Pregethwyr, a Phroffeffwyr, yr amliw, neu'r brychni lleiaf â ganfyddir yn gyflym; Eithr ym mhlith y rhai gwaelaf, á gwaethaf eu buchedd, braidd y gwelir, ac y gwneir cyfrif o ddim er maint a fyddo.

*Phila.*

*Phila.* Gan fod llygaid pawb ôll yn tremmio ar y rhai enwog, rhaid iddynt edrych yn graff ar eu camrau er mwyn tynnu ymmaith bob mantais oddiwrth y rhai ydynt yn disgwyl mantais.

*Theol.* Rhaid yn wir. Ac ymhellach rhaid
Psa. 119. iddynt weddio bob amser gyd a *Dafydd.*
133. *Cyfarwydda fyngbamreu wrth dy air,* ac *na ly-*
Psal. 41. *wodraethed dim amwiredd arnaf.* A thrachefn:
12. *Ond am danaf fi yn fy mherffeithrwydd i'm cynheli, ac i'm gosodi ger dy fron yn dragywydd:* Canys os y Cyfryw rai a ymrônt i dyngu, i ddywedyd celwedd, i ymyfed, i butteinio (er anfynyched fyddo) hwy a ganfyddir yn y fan: ac a gollant eu geir-da: eu clôd a benddua, eu gogoniant a dywylla, ar coel da arnynt yn ebrwydd a wiscodd allan ei amser.

*Phila.* Bellach megis y dangosasoch pa sawr ddrwg a ddwg y pechodau hyn ar ein eneidiau, a'n cyrph, ein da, an cymmeriad: Felly hefyd, attolwg dangoswch pa beryglon a ddygant ar yr holl wlâd.

*Theol.* Yn ddiddadl, tynnu i lawr a wnant ddigofaint Duw, arnom oll, a rhoi iddo achos cyfiawn i droi'r cwbl ar y gwaethaf, a llwyr ddadymchwelyd, ac anrheithio llwyddianus gyflwr yr eglwys, ar deyrnas: Ie i wneuthur difrod anescorol, ac anghyfanedd-dra or cwbl. Oblegit y pechodau hynny ydynt megis pentwynion digo-

digofaint Duw, ac megis sych'wŷdd i ennyn ei ddig ef, a'i lidiawgrwydd i'n herbyn. Canys yr Apostol a ddywed, Am y pethau hyn y daw digofaint Duw ar blant yr anufydd-dod. *Col.* 3. 6.

*Phila.* Mynegwch i ni allan or Scrythyrau, pa fodd yn yr amseroedd gynt, y cospodd yr Arglwydd genedlaethau cyfain a theyrnasoedd am y pechodau hyn, a'u cyffelyb.

*Theol.* Yn y bedwaredd o *Hosea* y dywed yr Arglwydd wrth ei bobl, Fod cŵyn rhyngddo â thrigolion y wlâd, am nad oes wirionedd, na thrugaredd, na gwybodaeth o Dduw yn y wlàd, onid tyngu, dywedyd celwydd, lladd celain, lledratta a thorri priodas â orchfygasant, a gwaed â gyffwrdd â gwaed: am hynny y galara y wlâd, y llescir y wlâd, ar hyn oll â fyddo yn trigo ynddi, o fwystfilod y maes, ac o ehediaid y nefoedd, pysc y mòr hefyd a ddarfyddant.

Ymma y gwelwn pa beth yw'r hyn â bair i Dduw gyffroi i'n herbyn, ac a wna i bawb o honom alaru. Felly yn yr vn ffunyd y mae yr Arglwydd yn bygwth drwy'r Prophwyd *Amos.* Mai am dreisio, a gorthrymmu y tlawd y dygei efe ddialedd ar yr holl wlâd. *Oni chrŷna y ddaiar am hyn? oni alara ei holl breswylwyr. Amos.* 8. 8.

*Drachefn yr Arglwydd a ddywed drwy*

'r *Prophwyd, Jeremi 7. 19.* A'i myfi y maent hwy, yn ei ddigio, medd yr Arglwydd, a'i hwynt eu hûnain er cywylidd iw hwynebau? Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw. Wele, fy llîd, am digofaint a dywelltir ar y fan ymma, ar ddŷn, ac ar anifail, a'r goed y maes ac ar ffrwyth y ddaiar fel y llofco ac na's diffoddir. *Drachefn yr Arglwydd a ddywed. Jer. 22. 5.*

Ac oni wrandewch y geiriau hyn, i'm fy hûn y tyngais medd yr Arglwydd mai yn anghyfannedd y bydd y tŷ hwn. Paratoaf hefyd i'th erbyn anrheithwyr: pob vn a'i arfau, a hwynt â dorrant dy ddewis Gedrwydd, ac a'i bwriant i'r tân. *Yn yr vn modd y bygwth yr Arglwydd drwy'r Prophwyd Ezechiel gan ddywedyd:* Am na rodiasoch yn fy neddfau, ac na chadwasoch fy marnedigaethau, gan hynny myfi, ie myfi â ddeuaf i'th erbyn, ac a wna farn yn dy ganol, ie yngolwg cenedloedd. Ac myfi a wnâf ynot ti y peth nis gwneuthym erioed or blaen, ac ni wnâf mwy y cyffelyb, o herwydd dy holl ffieidd-dra. Canys yn dy ganol di y bwyttu y tadau y plant, a'r plant y tadau. *Ezec. 5. 7.*

*Drachefn, drwy'r vn Prophwyd y dywed yr Arglwydd.* Y wlâd fydd yn llawn o farnedigaeth gwaed, a'r ddinas yn llawn creulondeb: Oherwydd paham myfi â

ddygaf

ddygaf arnynt y cenedloedd drygionus, ac hwy a feddiannant eu teiau: Myfi hefyd a wnaf i odidawgrwydd y cedyrn ddarfod, a'r lleoedd cyssegredig â halogir. Pan ddêl destruw, hwy a geisiant heddwch, ac nis cânt. Trueni â ddaw ar drueni, a sôn ar sôn: Hwy a geisiant weledigaeth y Prophwyd, eithr y gyfraith â balla gan yr offeiriaid, a chyngor gan yr henaf-gwyr: Y Brenin a lefara, ar twysog â wiscir ag anghyfannedd-dra, a dwylo y bobl yn y w-lâd a flinir. Myfi â wnâf iddynt hwy yn ôl eu ffyrdd, ac yn ól eu cyfiawnder y barnafi hwynt: ac hwy a gânt wybod mai myfi wyf yr Arglwydd. *Ezec.* 7. 23. *hyd* 27.

*Yn ddiweddaf oll, yr Arglwydd a ddywed drwy ei Brophwyd.* Gwrando o ddaiar, wele myfi a ddygaf blâ ar y bobl hyn, sef ffrwyth eu bwriadau eu hunain, am nad ystyriasant fyngeiriau i, na'm cyfraith, ond eu bwrw heibio. *Jer.*6. 19.

I'r ystyriaeth yma y gellid cael llawer o fannau yn Scrythyrau y Prophwydi, eithr y mae hyn yn ddigon i brofi y prif bwngc hwn: sef fod y Duw cyfiawn yn cospi cenedlaethau cyfein a thyrnasoedd, am eu pechodau, a'u hanvfydd-dod.

*Phila.* Gan fod yr holl bechodau hyn (am y rhai y dûg yr Arglwydd y cyfryw gospedigaethau cyffredin ar ei bobl ei hûn)

mor aml megis llifeiriant a'r wascar yn gorescyn tros y wlâd yma, onid oes i ni achos i ofni rhag syrthio arnom ryw ddialedd dirfawr? Ac yn hytrach oblegit bod ein troseddau ni yn cynyddu beunydd, fel y gellid tybied fod cynhaiaf dial Duw yn nesau, ac yn tynnu yn agos.

*Theol.* Y mae achos i ofni, a dychrynu, Oblegit onid arbedodd Duw yr *Angelion à bechasant*, pa fodd yr arbed efe ni? Onid arbedodd efe ei bobl ei hun, beth sydd i ni i'w ddisgwyl am dano? Onid arbedodd efe y canghennau naturiol, pa fodd yr arbed efe ni, y rhai ydym gangennau gwylltion o naturiaeth? Ai gwell ydym ni na hwynt hwy? A oes i ni le i ddisgwyl cael ein harbed, pan gospwyd hwy? Onid yw ein pechodau ni mor lluosog eu rhifeddi, ac yn gymmaint o fantioli a'r eiddynt hwythau? Onid yw yr vn achos yn dwyn yr vn ffrwyth? A gwttogwyd braich yr Arglwydd? Neu onid yw Duw yr vn Duw cyfiawn i gospi pechod yr awr'hon, ac ydoedd efe gynt? ydyw yn ddiammeu.

Ac am hynny y mae i ni achos mawr i alaru. ac i gwynfan, i ofni, ac i grynu, o herwydd bod cleddyf noeth o ddialedd ynghrôg goruwch ein pennau: Fel hyn y gwnaeth *Ieremi*, fel hyn y gwnaeth *Amos* fel hyn y gwnaeth *Habacuc* pan gansu

ant yn amlwg ddiglonedd Duw yn nesau at bobl *Israel* a *Iudah*. *Jer*.4. 19. *Amos* 5. 16. *Habac*. 3. 16.

*Phila*. Tybied yr wyfi, y dylem ni yn hytrach arswydo, ac ofni, o herwydd bod ein llywodraethwyr ni yn esceuluso cospi y beiau a grybwyllwyd vchod. Canys pan fyddo y rhai sy'n dwyn cleddyf cyfiawnder, yn esceuluso ei dynnu allan, i gospi troseddwyr, a drwgweithredwyr hynod, yna fynychaf, y cymmer yr Arglwydd ei hun yr achos yn llaw, ac ai law ei hûn yn ddigyfrwng a ddyry gospedigaeth, a dial: yr hyn sydd beth tra ofnadwy, ac enbaid. Oblegit peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw. *Heb*.10. 31.

*Theol*. Gwir a ddywedasoch. Canys os y rhai â osodwyd yma ar y ddaiar tan Dduw, i fod yn rhaglawiaid, ac yn swyddogion iddo, a gyflawnant eu dyledswydd yn ffyddlon, drwy gospi drygioni, a phechod, a maentumio rhinwedd dda, drwy daro yr annuwiol, a chymmorth y duwiol: Felly y tynnir drygioni ymmaith o *Israel*, y troir heibio ddigofaint Duw, ac yr attelir ei farnedigaethau: Megis y mae yn scrifennedig: *Phinehes a safodd i fynu, ac â iawn farnodd, a'r plà a attaliwyd*. Eithr Psal. os y llywodraethwyr (rhag ofn, neu er 106.30. dangos serch, a charedigrwydd; neu er

elw, gweniaith, gwobr, neu ryw gau-achos arall) a fyddant esceulus, a llaes i geryddu trosedd-wyr hyddrwg, ac yn barotach i daro 'r gwirion, yna y maent yn cyffroi, ac yn annog digofaint Duw yn erbyn y wlâd, ac yn eu herbyn eu hunain.

*Phila.* Un peth sydd ddrwg tros ben gennif: Nad yw'r gyfraith fydol, na'r gyfraith eglwys yn gosod dim cospedigaeth, (neu ychydig iawn) ar lawer o'r beiau, a henwyd o'r blaen: Sef balchder, cybydd-dod, gorthrymder, seguryd, tyngu, a'r cyffelib.

*Theol.* Peth yw hwnnw i'w resynu yn ddiau. Canys pa le yr ydym ni yn gweled cospi dŷn balch, neu ddŷn chwannog, neu ddyn traws, neu dyngwr, neu ddŷn celwyddog, neu segurwr? Ac o herwydd eu bod yn gwybod na ellir eu cospi, y maent yn caledu, ac yn hythâu yn eu pechodau. Fel y dywed y gŵr doeth:

Preg. 8. 11. *O herwydd nad oes gyfraith, i gospi drŵg yn fuan, am hynny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drŵg.*

*Phila.* Vn peth yr wyf yn rhyfeddu am dano: yn yr hwn yr ewyllysiwn gael gwybodaeth ym mhellach: Sef beth yw'r achos fod tan frenin mor dduwiol, lle y mae cynnifer o gyfreithau da, a chymmaint o bregethu, ac athrawiaethu, gymmaint hefyd er hyn ei gyd, o rysig i bechu ym mhôb grâdd,

grâdd, megis llifeiriant yn torri tros y glannau.

*Theol.* Yr achosion o hyn ydynt ymrafael, ac amryw. Eithr myfi â henwaf bedwar achos hynod, yn fy marn i.

Y cyntaf yw naturiol lygredigaeth dŷn, yr hwn sydd cyn gryfed, ac odid, od oes dim ai ffrwyna ef.

Yr ail yw siamplau drygionus, yn annog ar olteg i ddrŵg.

Y trydydd yw diffyg Pregethu mewn llawer o gynnulleidfaoedd yn y wlâd. O herwydd yr hwn ddiffyg ni ŵyr llawer fod pechod yn bechod.

Ar achos olaf yw llygredigaeth, ac esceulusdra llawer or sawl ydynt mewn awdurdod.

*Phila.* Onid yw y cefn-llanw, a'r llifeiriant hwn ar bechu, gyd â diffyg cospedigaeth am dano, yn darogan digofaint mawr i'n herbyn?

*Theol.* Ydyw yn wir. Megis y dangoswyd eusys o ran. Ac y mae amryw ragarwyddion eraill o ddigofaint Duw, er nad ydynt or vn rhyw. Sef y rhai hyn.

Anniolch-garwch am yr Efengyl. Arwyddion digofaint.
Cam-arfer ein hîr heddwch.
Dirgel gaudduwiaeth.
Diddarbodrwydd cyffredin.
Ein addfedrwydd ym mhob pechod.
Cam-arfer ar drugaredd Dduw.

Amharch ar ei hir ymaros ef.
Difrawch Proffesswyr.
Diffyg derbyn llesâd oddiwrth geryddon blaenllaw, sef y Cornwyd, drudaniaeth, marwolaeth, ac yscwyd y cleddyf, neu fygwth rhyfel.

*Phila.* Yr wyfi yn meddwl fod yr olaf hwn yn arwydd hyspys o ddialedd Duw, yn nesau attom: sef am nad ydym ddim gwell er cael rhag-rybuddion.

*Theol.* Gwir yw hynny: Canys peth cynnefin gyd â Duw, pryd na thyccio i ddynion gael ceryddon esmwyth, a chospedigaethau cyffredin, yw dwyn arnynt rai a fyddo trymmach.

A phrŷd na wnaeth trallod blaenorawl ddim llesad i ni, yna y mae achos da i ofni rhag rhyw ddialedd dybryd anescorol: Canys darllain yr ydym ym mhrophwydoliaeth *Hosea:* y byddei Duw i *Ephraim* ar y cyntaf, fel gwyfyn, ac fel pydredd i dŷ *Iuda:* Eithr yn ôl hynny pryd nad oedd yn gwellhau dim wrth hynny, yr oedd efe i *Ephraim* fel llew, ac i *Iuda* fal ceneu llew.

Hosea 5. 12.

Felly y dywed yr Arglwydd mewn man arall, oni ddychwelent, ac vfyddhau ar alwad cyntaf ei lîd ef, yna y cospei efe hwynt yn saith gymmaint mwy: Eithr os parhaent hwy yn ei cyndynrhwydd, yna bygwth y mae efe ddwyn arnynt am eu pe-

Levi. 26. 18. 21. 24 28.

pechodau, saith mwy o ddialeddau. Ond os er hyn oll ni wellhaent ddim, eithr rhodio yn donnog, ac yn gildynus yn ei erbyn ef, yna bygwth y mae efe *saith mwy* ychwaneg am eu pechodau : Ar bedwaredd waith, *saith mwy* etto ychwaneg. Prawf o hyn sydd gennym yn llyfr y Barnwyr. Lle y darllenwn fel y bu plant yr *Israel* am eu pechodau, tan warogaeth Brenin *Aram-Neharaim*, wyth mlynedd. *Barn* 3. 8.

Yn ôl hyn, o herwydd na wnaeth y blinder hwnnw ddim llesâd iddynt, ond iddynt ddychwelyd at eu hên bechodau: am hynny y gwasanaethasant *Eglon* Brenin *Moab* ddeunaw mlynedd, *Barn* 3. 14.

Yn ôl hynny am eu pechodau, a'u ffieidd-dra adnewyddol, yr Arglwydd a'u rhoes hwynt i fynu i ddwylo *Midian* tros saith mlynedd ychwaneg, *Barn* 6. 1.

Gwedi hyn, am adnewyddu eu pechodau, yr Arglwydd a'i gwerthodd hwynt i ddwylaw y *Philistiaid*, ar *Ammoniaid*, y rhai a'u cystuddiasant yn dôst, ac a'u gorthrymmasant *ddeunaw mlynedd*. Ac yn olaf i gyd, pan nad ymchwelent atto, er na newyn, na nodau, yna y rhoes efe hwynt i fynu i gleddyf eu gelynion, ac a'u daliodd tan gaethiwed, a chaeth-glud ddeg mlynedd, a thrugain. Wedi hyn oll, pan ryddhauwyd hwynt o'u caethiwed, a Barn. 10. 7, 8.

dychwelyd o honynt adref yn ddiogel at eu cenedl eu hûn, a chael heddwch, a llonyddwch tros amser hir: etto syrthiasant ar hynt i adnewyddu eu pechodau, ac am hynny y custuddiodd yr Arglwydd hwynt yn ddirfawr, drwy wahanu emerodraeth
Ezec. 38. y *Groegiaid*, *sef Magog*, a'r *Aipht*, *Selucidæ*, a *Lagidæ*: a hynny tros yspaid ynghylch trychant o flynyddoedd.

Ac dymma'r peth a ddywed y Prophwyd *Hosea*: *Llawer o ddyddiau yr erys meibion Israel heb frenin, ac heb dwysog, ac heb aberth, ac heb ddelw, ac heb Ephod, na Theraphim*, Hos. 3. 4.

*Phila.* Helaeth tros ben yr amlygasoch yr arwydd olaf hwn o ddialedd: sef fod Duw ar y cyntaf, megis yn ein curo ni, ar ein dillad y tu allan yn vnig: eithr os parhawn ni mewn pechod, i aros ynddo yn hwy, efe a'n fflangella yn dôst ar ein crwyn noeth: Ac oni syn dynion ymroi ar y gwialennodau yscafn cyntaf, yna y teru efe yn ddwysach, ddwysach, hyd oni thynno ein pennau i lawr yn issel, ac y paro i ymchwydd ein calonnau laesu, a llarieiddio.

Ac am hynny da yw ymroi iddo ar y cyntaf: Oblegid nid ynnillwn ni ddim o fod yn donnog yn ei erbyn ef. Nid yw hynny ond peri iddo amlhau ei ddyrnodiau, a'n curo ni waethwaeth: Canys ni

ddichon

ddichon efe oddef grwgnach, a grwmmial yn ei erbyn, a gŵg, neu gilwg afrywiog, a childynnus: ond bellach deuwn at y matter.

Gan fod cynnifer o rag arwyddion yn arddangos digofaint Duw, mynegwch i ni, attolwg, beth sy yn attal, nad yw hwnnw yn descyn i lawr, ac yn syrthio arnom.

*Theol.* Gweddiau, a dagrau y ffyddloniaid yw'r modd enwedigol i attal llaw Dduw rhag ein taro.

Oblegit gweddiau y cyfiawn ydynt mewn grym, ac o gyfrif mawr gyd ag ef: ie yn alluog i wneuthur pob peth: *S. Iago* a ddywed, Mai *llawer à ddichon gweddi y cyfiawn, os ffrwythlon fydd hi.* Ac i brofi hyn y dengys i ni siampl *Elias*: Canys (medd efe) *Elias dyn ydoedd vn sut a ninnau, ac etto drwy ei weddiau y caeodd efe, ac yr agorodd y nefoedd*: Felly *Abraham* a gafodd gan Dduw wrando ei weddiau cyn belled, a phe buasai iw cael yn *Sodom* ddêg o wŷr cyfiawn, yr arbedasid y ddinas. Yr Holl-Alluog Dduw à ddywed yn *Jeremi Pe safai Moses, a Samuel ger sy mron, etto ni byddei sy serch ar y bobl ymma.* Yr hyn â ddengys yn eglur, y gallasai *Moses*, a *Samuel* dyccio llawer gyd ag ef: yr attaliasent lawer arno, oni buasei ei fod efe wedi ymroi, ac ymosod eusys mor

Jag. 5. 16

Gen. 18. 32.

Jer. 15. 1.

llwyr ddiattal, yn erbyn y bobl hyn am eu pechodau.

Ezec. 14. 14. Felly y dywed efe hefyd ym mhrophwydoliaeth *Ezeciel* : *Pe bai y try-wyr hyn, Noah, Daniel, a Iob yn eu plith hwynt, ni waredent ond eu heneidiau eu hunain drwy eu cyfiawnder.* Yr hyn eriau â ddengys, pe buasai bossibl drwy ymbil gael ganddo arbed y wlâd, y try-wyr hyn a gawsent y neges hwnnw : ond yr awr'hon yr oedd efe wedi bwriadu yn diatteg, wneuthur y gwrthwyneb.

Gan hynny, o herwydd bod y Pregethwyr duwiol, a gwir Broffesswyr yr Efengyl mewn cymmaint cymmeriad gyd â Duw, drwy eu gweddiau, y dywedir eu bod yn ymddeffyn, ac yn gadernid i deyrnasoedd, a Gwledydd, ac Eglwysi, a Thywysogaethau : megis y dywedir am *Elias*, mai cerbyd *Israel* ydoedd, a'i marchogion, 2 *Brenh.* 2. 12.

*Eliseus* oedd wedi ei amgylchu â mynydd yn llawn o *wŷr meirch a cherbydau tanllyd*, 2 Bren. 6. 17.

A diogel yw fod *Elias*, ac *Eliseus* nid yn vnig yn wŷr meirch, ac yn gerbydau *Israel* : ond hefyd drwy eu gweddiau, yn peri i Dduw ei hun fod yn fur tanllyd o'i amgylch : fel y dywed y Prophwyd.

Yr Arglwydd Dduw â ddywed : *Ceisiais hefyd ŵr o honynt, yn caeu cae, ac yn sefyll*

*sefyll ar yr adwy o'm blaen dros y wlàd, rhag ei dinistrio, ac nis cefais*, Ezec. 22. 30.

Yr hyn â ddengys, pe buasai ychydig a safasei ar yr adwy, yr arbedasai yr holl wlâd.

A hyn sydd amlygach hefyd ym mhrophwydoliaeth *Ieremi*. Lle y dywed yr Arglwydd fel hyn: *Chwiliwch ar hyd heolydd Ierusalem, ac edrychwch yr awr'hon, mynnwch wybod hefyd, a cheisiwch yn ei heolydd hi, o chewch ŵr, ac o chewch a wnel barn, ac à gais wirionedd, ac myfi a'i harbedaf hi*, Jer. 5. 1.

Gan hynny, deliwch sulw, ac ystyriwch beth a ddichon gŵr: ie beth a ddichon vn gŵr, Un *Abraham*, vn *Moses*, vn *Elias*, vn *Daniel*. Beth a ddichon vn *Samuel*, vn *Noah*, vn *Job*.

Rhyw vn gŵr (o herwydd ei fawr gymmeriad gyd a'r Goruchaf) a ddichon ryw amser drwy ei weddiau, ai ddagrau, wneuthur mwy gorchest tros wlâd, na llawer o wŷr call drwy eu cynghorion, neu wyr cedyrn nerthol a'u cleddyfau.

Ie y mae i'w weled yn amlwg ynghyssegr lân lyfr yr yspryd glân, fod rhyw vn Pregethwr gwael yr olwg arno, eithr yn llawn yspryd, a nerth *Elias*, yn gwneuthur mwy gorchest, ac yn digoni yn well,

yn ei ſtafell gartref, ym mhlith ei lyfrau (pa vn bynnag ai i ddrygu gel yn, ai i ymddeffyn gwlâd, ai i droi heibio ddigofaint, ai i beri cael trugaredd) na llu Brenhinol, ſef deugain-mil o wyr cedyrn nerthol yn ymladd mewn maes: Neu fel y dywed yr yſpryd: *Er bod pob vn a'i gleddyf ar ei glùn, a'u bod ôll o gedyrn Iſrael*, Can. Sol. 3.7.

A hyn a brofir yn eglur mewn vn wers o lyfr y Pſalmau: Lle y mae 'r Prophwyd wedi iddo wneuthur manwl-goffa o bechodau y bobl, yn chwanegu dywedyd: *Ac efe a ddywedaſai am eu diniſtrio hwynt, oni buaſai i Moſes ei etholedig ef ſefyll ar yr adwy o'i flaen ef, i droi ei lidiawgrwydd rhag eu diniſtrio*, Pſal. 106. 23.

Gwelwch wrth hyn, beth a ddichon vn gŵr ei wneuthur gyd à Duw: Rhyw vn gŵr ſy'n rhwymo dwylo Duw, fel nad oes ganddo nerth i daro pan fynnei. Megis y dywedir am *Lot*; *Ni allaf wneuthur dimnes dy ddyfod yno*. Gen. 19. 22.

Yſtyriwch pa wedd y dywed yr Arglwydd, na allei efe wneuthur dim, o herwydd na fynnei wneuthur dim: o'r waith oddef, ac yn ewyllyſgar y mae yn gadael, megis gefynnu ei ddwylo, ai rhwymo ar ei gefn, er mwyn ychydig ddynion, o ba rai y mae yn gwneuthur mwy cyfrif, nac o'r holl fyd heb ei llaw hwynt.

Mor hôff ydynt ganddo, ac mor werthfawr yn ei olwg ef. Yr vn ffunyd scrifennedig yw, fod yr Arglwydd yn ddigllon tros ben wrth yr *Israeliaid* am y llô aur â wnaethant yn *Horeb :* Er hynny, ni allei efe wneuthur dim, o herwydd na adawei *Moses* iddo : Ac am hynny y mae efe yn ymbil a *Moses* ar adael iddo lonydd, ac nad eiriolei mwyach dros y bobl. *Yn awr* (medd yr Arglwydd wrth *Moses*) *gad i mi lonydd fel yr enynno fy llîd yn eu herbyn, ac i difethwyf hwynt*, Exod. 32. 10.

Felly ni â welwn, onid â *Lot* allan o'r ddinas, ac oni âd *Moses* iddo lonydd, nad yw efe yn gallu gwneuthur dim.

O ddyfnder, ac vchder trugaredd Dduw tu ag at ddyn : O vchder, a dyfnder, hŷd, a llêd ei gariad ef tu ag at rai.

Oh pan wnai y Gogoneddus, ar Anweledig Dduw gymmaint cyfrif o feibion dynion. *Canys pa beth yw dyn iddo ef i'w goffau? neu fâb dyn pan wnai gyfrif o honaw?*

Moeswch i ni, y rhai ydym gofiad-wyr yr Arglwydd, ymroi na adawon iddo na gorphwys, na llonyddwch, hyd oni chaffom ganddo ryw ficcrwydd diymmod, y trŷ efe ymmaith oddiwrthym y digofaint, yr hwn o wir gyfiawnder â haeddasom; yr arbed efe nyni, ac y trugarhâ wrthym.

Je. ac fel y dywed y Prophwyd: *Na roddwch ddistawrwydd iddo, hyd oni siccrhao, ac hyd oni osodo Ierusalem yn foliant ar y ddaiar.* Rhag o ddiffyg hyn, rhoddi i'n herbyn ni, y peth â roddwyd yn erbyn rhai or Prophwydi yn *Israel:* eu bod yn gyffelyb i'r llwynogod yn y diffaethwch, na chodasant i fynu yr adwyau, ac na chauasant y cae i dŷ *Israel, Ezec.* 13. 4. 5.

Esay 62. 7.

Eithr yn y dyddiau hyn, fywaeth, y mae llawer yn torri adwyau, ond nid oes nemmawr yn cau adwyau: Llawer yn agoryd adwyau, i ollwng i mewn lifeiriant digofaint Duw ar ein gwarthaf, eithr ychydig yn ceisio drwy wir edifeirwch, cau yr adwy, a gostwng y fflodiard, i attal oddiwrthym lif-ddyfroedd dialedd Duw, fel na'n goddiwedder ganddynt.

*Phila.* Yr awrhon yr wyfi yn gweled yn amlwg fod rhai mewn cymmeriad mawr gyd â Duw; ac fel y dywedwn, ym mhell yn ei lyfrau ef, lle y mae ganddo gymmaint cariad tu ag attynt a'i fod er eu mwyn hwynt yn arbed miloedd.

*Theol.* Scrifennedig yw yn Niharebion *Salomon:* Mai y cyfiawn mewn gwlâd, â gadarnhânt orseddfaingc y Brenin: Ond y drygionus ai gwanhâ: Y geiriau yw y rhai hyn. *O dynnu yr amhuredd oddiwrth yr arian, y daw i'r gof-arian lestr: felly wrth dynnu yr annuwiol o olwg y Brenin,*

*nin, y cadarnheir drwy gyfiawnder ei orseddfa ef*, Dihar. 25. 4, 5.

Ac mewn man arall y dywed y gŵr doeth, fod y cyfiawn yn gadernid, ac yn amddeffynfa dinasoedd, trefi, a chaerau: Ond y drygionus sy yn gwanhau, ac yn anrheithio y cwbl. *Dynion gwatworus* (eb efe) *a ddifethant ddinas; ond y doethion â droant ymmaith ddigofaint*, Dihar. 29 8.

Godidog ir ystur hwn yw ymadrodd *Eliphas* yn *Job*. *Y diniwed ei ddwylo â wareda yr ynys, a thrwy lendid dy ddwylo di, y gwaredir hi.* Darllain yr ydym yn llyfr y Cronicl: Pan swriodd *Ieroboam* allan y *Lefiaid*, ar *Offeiriaid*, hwy â ddaethant i *Ierusalem*: A'r rhai ôll â *osodasant eu calonnau i geisio Arglwydd Dduw* Israel, *a ddaethant gyd a hwynt.* Ac yna yn ôl hynny y dywedir: *Hwy a gadarnhausant frenhiniaeth Iuda, ac a nerthasant Rehoboam mab Salomon*, 2 Cronic. 11. 14, 16, 17. Job. 22. 30.

Wrth yr holl destiolaethau hyn y mae yn eglur fod Tywysogion, dinasoedd, Trefi, a Phentrefi yn cael cadernid, a chrysder oddiwrth y cyfiawn a drigant ynddynt, ac er eu mwyn hwynt hefyd, yr attelir dialeddau mawrion oddiwrthynt. Yr hyn beth â ganfu vn or cenedloedd, fel y mae yn amlwg wrth ei eiriau: *Sef* Pan swriado

Duw

Duw ddaioni i ddinas, a gwneuthur llesâd iddi, yna y gesyd efe wŷr da ynddi : Ond pan osodo efe ei frŷd ar gospi dinas, neu wlâd, a gwneuthur iddi ddrŵg, yna y tynn efe ymmaith y rhai da o honi.

*Phila.* Digon eglur yw'r cwbl â ddywedasoch, fod yn well i'r drygionus bob dydd yn y flwyddyn, er mwyn y duwiol a drigant yn eu plith.

*Theol.* Nyni â welwn hynny wrth ein adnabyddiaeth ein hunain, a'r Scrythyrau sy hefyd yn cadarnhau y peth yn ddiogel.
Gen. 30. 27. Canys oni bu well i'r taiog *Laban* er mwyn ei nai *Iacob?* Oni chydnabu efe ddarfod i'r Arglwydd ei fendithio ef er mwyn *Iacob?* Oni chafodd *Potiphar* well llwyddiant ar bob peth â feddei er mwyn *Ioseph* dduwiol? Onid yw'r Scrythyrau yn tystio i'r Arglwydd fendithio tŷ yr Aiphtŵr er mwyn *Ioseph?* Ac i'r Arglwydd beri i bob peth a wnelei, lwyddo tan ei law ef? *Gen.* 39 5.

Oni chafodd *Obed-Edom* fwy llwyddiant, a ffynniant ar bob peth a feddei er
2 Sam. 6. 11. mwyn yr *Arch?* Oni achubwyd er mwyn *Paul,* yr vn ar bymtheg a thrugain a daucant o eneidiau, y rhai oeddent yn y llong gyd ag ef? Oni ddywedodd Angel yr Arglwydd wrtho o hyd nos, roddi o
Act. 27. 24. 37. Dduw iddo ef *y rhai oll oeddent yn y llong gyd ag ef?* Canys oni buasai hynny mîl i vn

y boddafid hwynt oll. Am hynny, cymmwys y gellir cyffelybu plant Duw i ddarn mawr o gorc, yr hwn er ei daflu i'r môr, a llawer o hoelion wedi eu taro ynddo, etto a gynnal i fynu ar wyneb y dwfr, y cwbl oll fel na fuddont, y rhai oni bai'r corc, a bwyfent i'r gwaelod o honynt eu hunain.

Gan hynny pa beth á ddywedwn, a pha beth a gafclwn oddi ymma, ond bod yr annuwiol yn fwy rhwymedig i'r cyfiawn, nac y maent yn gwybod.

*Phila.* Yr wyfi yn meddwl y byddei caled iawn ar y drygionus oni bai blant Duw. Oblegit pe baent wedi eu didoli a'u holîo allan o'u myfc hwynt, ac wedi eu gosod ar y naill du arnynt eu hunain, beth â allent hwy ei ddifgwyl am dano, ond digofaint ar ddigofaint, a dialedd ar ddialedd, hyd oni lwyr ddifethei yr Arglwydd hwynt, a'u yfcubo ymmaith fel llwch oddiar wyneb y ddaiar.

*Theol.* Diau y cuchiei yr holl greaduriaid arnynt: yr haul a fyddei anfodlon i lewyrchu, ar lleuad i roddi goleuni iddynt. Y fêr a ymguddient rhagddynt, ac nid ymddangofai y planedau iddynt. Y bwyftfilod a'u difethent, ar ehediaid a dynnent eu llygaid: Y pŷfc a ryfelent iw herbyn, a'r holl greaduriaid yn y Nefoedd, ac ar y ddaiar a gyfodent yn arfogion

ſogion iw gwrthwynebu. Ie yr Arglwydd ei hûn o'r Nefoedd â lawiei dân, a brwmſtan arnynt.

*Phila.* Etto er hyn i gyd, peth rhyfedd yw yſtyried pa ddygn gâs ſydd gan y drygionus i'r cyfiawn; a pha ſodd y maent ym mhôb peth yn ymoſod yn eu herbyn; a hynny yn llidiog tros ben, ac yn atcas. Ymgeinio, ac enllibio a wnânt; eu gwawdio, a'u gwatwor, eu diyſtyru, a'u mingammu megis pe na baent deilwng i fyw ar y ddaiar. Hwy a wnânt ſwy cyfrif o bob coegwr diflas, ac a gymmerant bob gwael diſſeithwas o'u blaen hwynt. Ac er eu bod yn cael eu bywyd, a'u rhydd-did, eu hanadl, a'u diogelwch a pheth bynnac arall a ſeddant, drwyddynt hwy: etto er hyn i gyd, hwy a glywent arnynt eu bwytta yn ſyw; mor gynhwynol, mor danllyd, mor ſrŵd, ac mor burboeth yw eu cynddaredd, a'u drwg-ſwriad i'w herbyn.

*Theol.* Cymmwys y gellid eu cyffelybu hwynt i'r gwyfyn yr hwn a fradwya yn dyllau, y brethyn y mager ef ynddo: Neu i ryw bryfyn ſy'n tyll-gnoi, ac yn yſſu trwy galon y pren y mager ef ynddo, ac ſydd yn ei borthi.

Neu i ddyn yn ſeſyll ar gangen ym mrîg pren, lle nid oes ond honno yn vnig; ac er hynny â yſcythrei honno a bwyall, ac

ar

ar hynny, a gwympiei i'r llawr gyd â hi, ac a dorrei ei wddf: yr vn ffunyd, ffyliaid y byd yma â wnânt eu goreu i dorri i lawr y gangen a'u cynhalio, ond hawdd iddynt wybod beth a ddaw yn ôl hynny.

*Phila.* Mi a welaf yn amlwg eu bod yn elynion iddynt eu hunain, ac yn sefyll yn eu goleu eu hunain; a diau na wyddant beth y maent arno. Canys tra rhagorol yw y llesâd a dderbynniant oddiwrth y cyfryw. Ac am hynny, o'u dirmygu hwynt, beth amgen a wnânt onid dal y warthafl i'w destruw eu hunain.

*Theol.* Bellach i gymhwyso y pethau hyn attom ein hunain, ac i ddychwelyd yn ôl at y cwestiwn cyntaf o'r ymresymmiad yma; onid oes le i ryfeddu fod ein gwladwyr ni yn cael eu harbed cyhyd o amser, wrth synnied fod ein pechodau ni mor anguriol, ac mor gynhwynol ac y maent?

*Phila.* Da y gallwn ryfeddu am anfeidrol ammynedd Duw, ac fe ellir tybied yn hydda, fod rhai yn y wlâd yn sefyll ar yr adwy, drwy fod mewn cymmeriad nid bychan gyd a'i fawredd ef, ger bron yr hwn y maent yn cael eu gwrando.

*Theol.* Trugarog ymddeffynniad ein grasusaf frenin (yr hwn yw megis anadl ein ffroenau) cynhaliad hîr heddwch, a'r Efengyl yn ein plîth: Attal oddiwrthym

allan o'n gwlâd y cleddyf (sef rhyfel) yr hwn y mae ein pechodau yn ei dynnu arnom : Afrwyddo llawer o ddrwg-swriadau, a chynllwynion ystrywgar, y rhai a ddychymygwyd yn fynych yn erbyn ein teyrnogaeth, ie ac yn erbyn enioes Mawrhydi ein Brenin, dymma'r pethau a bair i ni dybied fod rhai dadleüwyr taerion yn ymbil a Duw dros ein cyffredin ddaioni ni bawb oll.

*Phila.* Iawn y gellwch dybied hynny. Canys nyni a haeddasom (ac yr ydym yn haeddu beunydd(o herwydd ein pechodau golli einBrenin,ein gwlâd,ein heddwch,ein efengyl, ein enioes, ein da, ein tiroedd, ein bywyd, ein, gwragedd, ein plant, a phob peth a feddwn : eithr y cyfiawn yn vnig (y rhai ydynt cyn nesed at y Brenin nefol ac mewn cymmeriad nid bychan gyd ag ef) hwynt hwy ydynt yn taro i mewn, ac yn taer-eiriol trosom am faddeuant o'r pethau a haeddasom eu colli, ac ar gael o honom gêd am danynt drachefn, neu o'r hyn lleiaf addewid o amser hwy iw mwynhau.

Eithr attolwgSyr,oni allwn ni fwrw,fod llawer o'n llwyddiant ni yn digwyddo drwy gyfrwys-bwyll ein gwlâd, a'n cyfreithiau gosodedig, a thrwy ddoethineb a chyngor ein Rheol-wyr synhwyrol-gall.

*Theol.* Gallwn yn dda iawn, megis moddion cyffredin, a chyfryngau oddiallan,

y

y rhai á drefnodd Duw er mwyn ein cadwedigaeth ni.

Canys er cael or Apostol *Paul* gêd gan Dduw am ddiogelwch ei enioes ei hûn, ac am y sawl oll oeddynt gyd ag ef yn y llong; etto efe a ddywedodd: *Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig.* Gan ddangos i nî wrth hynny, fod yn rhaid cyssylltu y moddion goreu, ar cyfryngau deheuaf at ffydd, a gweddiau. Act. 27. 31.

O herwydd hyn, ar dâl ein gliniau y dylem ni roddi diolch i Dduw bob dydd, am y cyfryw foddion cymmwys o'n diogelwch, ac â roddes efe i ni.

*Phila.* Gan hynny, megis hyd yn hyn y bu gweddiau y cyfiawn yn gyfryngau godidog i rwystro attom, ac i droi heibio oddiwrthym ddigofaint Duw, ie ac i'n cynnal mewn cymmeriad gyd a Duw: felly dangoswch, adolwyn, pa ffordd gymmwysaf a gymmerir, a pha beth mewn iawn synnwyr a wneir, yn gystal i ochelyd peryglon cyffelybus i ddigwyddo, ac i gynnal ffafor, a thrugaredd Dduw i barhau rhag llaw tu ag attom.

*Theol.* Y ffordd ddeheuaf, a diogelaf a fedrafi ei dirnad i hyn, yw edifeirwch o'n calonnau am ein pechodau o'r blaen, a gwellhau ein buchedd o hyn allan: *Ceisio yr Arglwydd tra y caffer ef, galw arno tra yddo yn agos.*

Ym-

Ymwrthod a'n ffyrdd ein hunain, ac a'n dychymmygion ein hunain, ac *ymchwelyd atto ef a'n holl galonnau, mewn wylofain ympryd, a galar, fel y cynghora y Prophwyd Joel: Canys graslawn, a thrugarog yw ein Duw ni, hwyr-frydig i ddigofaint, ac aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg.* Joel 2.

Yr holl Brophwydi a'n cynghorant i ganlyn y ffordd hon, ac a'n dyscant yn hyspys, os nyni oll (or mwyaf hyd y lleiaf) a ddeuwn at yr Arglwydd ag edifeirwch diledrith gennym: os offrymmwn iddo ef aberth yspryd drylliedig, yna nid rhaid ammeu na chymmoda efe a ni, ac efe a drugarhâ wrth ein camweddau.

Dymma'r peth a osodir i lawr yn eglur yn y seithfed o *Jeremi*, lle y dywed yr Arglwydd fel hyn wrth ei bobl. *Os gan wellhau y gwellewch eich ffyrdd, a'ch gweithredoedd: Os gan wneuthur y gwnewch farn* Jer. 7. 5, 6.
*rhwng gŵr ai gymmydog, ac na orthrymmwch y dieithr yr ymddifad, a'r weddw, ac na thywelltwch waed gwirion yn y fan hon, ac na rodiwch ar ôl duwiau dieithr i'ch niwed eich hûn, yno y gadawaf i chwi drigo yn y fan hon, yn y tîr â roddais i'ch tadau chwi yn oes oesoedd.*

Felly hefyd y dywed yr un Prophwyd *Gwnewch farn a chyfiawnder, â gwaredwc y gorthrymmedig o law y gorthrymwr, n*

*thristewch,*

*thristewch, ac na threisiwch y dieithr, yr ymddifad, na'r weddw, ac na thywelltwch waed gwirion yn y lle hwn. Canys os gwnewch y pethau hyn, daw drwy byrth y tŷ hwn frenhinoedd yn eistedd ar deyrngadair Dafydd, yn marchogaeth ar gerbydau, ac ar feirch, efe ai weision, a'i bobl.* Jer. 22. 3, 4, 5.

Drachefn, *Ymchwelwch feibion gwrthnyssig, ac iachaf eich gwrthnyssigrwydd chwi:* Hefyd yr Arglwydd a ddywed drwy 'r Prophwyd *Esay : Os mynnwch, ac os gwrandewch, daioni y tîr a fwyttewch, ond os gwrthodwch, ac os anufyddhewch, a chleddyf i'ch yssir, canys genau yr Arglwydd a lefarodd,* Esay 1. 19. Jer. 3. 22.

Y Prophwyd *Hosea* a ddywed. *Deuwch a dychwelwch at yr Arglwydd, canys efe a sclyfaethodd ac efe a'n iachâ ni: efe a darawodd, ac a'n meddiginiaetha ni.* Hos. 6. 1.

Drachefn: *Dychwel Israel at yr Arglwydd dy Dduw, canys ti a syrthiaist drwy dy anwiredd dy hûn. Meddiginiaethaf eu ymchweliad hwynt, caraf hwynt yn ewyllysgar, canys trôdd fy nig oddiwrtho. Byddaf fel gwlith i Israel, efe a flodeua fel lili, ac a leda ei wraidd megis prennau libanus: ei geingciau a gerddant, bydd ei degwch fel yr olewydden, ai arogl fel Libanus.* Hosea 13. 13.

Y Prophwyd *Micah* â dywed: *Beth sydd dda i ni, a pha helynt orau i ni. A pheth y mae yr Arglwydd yn ei ofyn gennym, sef y pedwar peth hyn. Gwneuthur barn, hoffi trugaredd, ymostwng, a rhodio gyd a Duw.* Mic. 6. 8.

Yr vn fâth gyngor a ddyry y Prophwyd *Amos. Ymgeisiwch a daioni, ac nid a drygioni, fel y byddoch byw: Casewch ddrygioni, a hoffwch ddaioni, a gosodwch farn yn y porth: gallei Arglwydd Dduw y lluoedd fod yn raslawn i weddill Ioseph.* Ar Arglwydd ei hûn à ddywed: *Os y genhedlaeth hon yn erbyn yr hon y lleferais, a drŷ oddiwrth ei drygioni, myfi à edifarhâ am y dialedd a fwriedais ddwyn i'w herbyn.* Ier. 18. 1.

Amos 5. 8. 14. 15.

Mal hyn nyni â welwn yn amlwg pa rybuddion, pa gynghorion a rŷdd y Prophwydi, a gwŷr sanctaidd Duw. Ystyriaeth y cwbl yw hyn; os nyni a wir edifarhawn, ac a ddychwelwn atto ef a'n holl galonnau, (gan wneuthur egni i vfyddhau iddo, ac i rodio yn ei ffyrdd ef) yna y dengis efe bob caredigrwydd a ddymunem ar ei ddwylaw ef.

Canys megis y bydd sachau gwlân, a'r cyffelib ddefnyddiau ymrôus, a meddal, yn tagu, ac yn gwrth-droi dyrnodiau, neu ergydion gynnau nerthol: Felly y mae calonnau edifeiriol drwy doddi oddifewn,

oddifewn, ac ymroi yn hynaws, yn curo, ac yn gyrru yn ei wrth-gefn, ergyd digofaint Duw, gan droi yn ôl ei ddialedd ef oddiwrthym.

Heb law hyn, nyni â allwn weled mai peth arferol yw: Pan ddigio pendefig, neu pan sorro rhyw ŵr mawr wrth ddynan tlawd, rhaid yw i'r truan redeg a marchogaeth, danfon anrhegion, a gwneuthur cyfeillion ar ei blaid, colli ei gyscu, ac er dim na orphywyso nes cael ei gymmod: Ac felly y mae yn rhaid i ninnau wneuthur a'n Duw, gan iddo ddigio wrthym. Oh na wnaem ni ein gorau ym mhôb modd, a hynny ar frŷs, ac yn ddioed iw ddiddigio ef. O nad ymostyngei pob vn o honom (or mwyaf hyd y lleiaf) ac ymroi bawb ag vn galon, ac ag vn genau oflaen ein Duw: Gan ymadael a'n ffyrdd anwireddus o'r blaen. O na thristaem am yr hyn a wnaethom, ac na fwriadem yn ddiyscog ymgadw yn ofalus rhag gwneuthur y cyffelyb bech mwy drachefn. O na ddwys-bigid ein calonnau am ddarfod i ni cyn fynyched, ac mor ddirfawr anfodloni Duw mor garedig, a Thâd mor drugarog ac ydyw ein Duw ni. Oh na ddeffroem ni o'r diwedd, drwy gyfodi i fynu ein calonnau i cyfcadur, a chwalu ein cydwybodau bwyrdrymmion, gan lefain yn grôch yn erbyn ein pechodau, fel na

 lefei

lefei ein pechodau i'n herbyn ni, byth mwyach.

O na baem ni yn ein cyhuddo ein hunain, ein titio ein hunain, ein barnu ein hunain, ac yn ein condemnio ein hunain, fel na'n cyhuddid, na'n titid, na'n bernid, ac na'n condemnid byth gan yr Arglwydd.

O na bai pob calonnau yn ochneidio, pob eneidiau yn griddfan, pob lwynau wedi eu taro a thristwch, pob wynebau yn casclu parddu, a phob dyn yn ei daro ei hûn ar ei forddwyd, gan ddywedyd, pa beth a wneuthym? O na bai y llywodraethwyr, yr Eglwyswyr, a'r cyffredin wyr, yn bwriadu, ac yn addunedu, ie yn ymosod, ac yn ymwneuthur o'r dydd heddyw allan, i geisio yr Arglwydd au holl galonnau, gan ymroi yn gwbl i ddangos iddo bob vfydddod.

O na bai yr holl wyr, a'r gwragedd a'r plant, yn ofni Duw, ac yn cadw ei orchymynnion, yn cilio rhag drŵg, ac yn gwneuthur da; yn gofalu am fodloni Duw ym mhôb peth, gan wneuthur cydwybod o gyflawni dyled-swydd eu galwedigaeth neillduol: Dylêdion y llêch gyntaf or gyfraith, a dylêdion yr ail llêch: Mal felly y gwasanaethid Duw yn ddiragrith, y perchid ei enw ef yn ddifluant, y cedwid ei Sabothau yn grefyddol.

Ac

Ac oh na wnai pob dŷn garedigrwydd, trugaredd, cyfiawnder, ac vniondeb a'i gymmydog, fel na bai na chwynfan, na llefain yn ein heolydd: O' meddaf drachefn, a thrachefn na baem ni oll (o ba r. dd, neu gymmeriad, neu gyflwr bynnac y baem) yn rhodio yn llwybrau ein Duw, yno diau y caem fyw, a gweled dyddiau da, y caem ddiangc rhag pob enbydrwydd i ddyfod; y caem hir fyw mewn heddwch, cadarnhau ein llywodraeth, mwynhau ein Brenin yn iach-lawen, a'r E'engyl i barhau rhag llaw gyd â ni. Yno y caem estyn ein henioes, ffyniant ar ein da, ein tiroedd, ein cynhaliaeth, ein teiau, ein tyddynnod, ein gerddi, ein perllannau: Y caem lawenydd o'n gwragedd, a'n plant, ac fel y dywed y Prophwyd, ni a gaem fwytta brafter y tîr, gan dreulio ein dyddiau mewn mawr ddiddanwch, heddwch, a llonyddwch, a gadael bendithion helaeth, a diandlawd ar ein hôl i'n plant, a'n hwyrion, o oes i oes, o genedlaeth i genedlaeth.

*Phila.* Chwi â attebasoch yn helaeth i'm gofyn i, ac am bodlonasoch am hynny allan o'r Scrythyrau, yn dda dros ben: er hynny rhoddwch i mi gennad, attolwg, i chwanegu vn peth at yr hyn â adroddasoch chwi yn helaeth.

Yr Arglwydd a ddywed drwy'r Prophwyd

wyd *Amos* : Mai am eu pechodau, a'u
cyndynrhwydd y rhoddes efe iddynt len-
did dannedd,ſef drudaniaeth, a phrinder,
ac er hynny na ddychwelaſant atto ef :
os 4. Heſyd efe a luddiodd iddynt gael glaw, ac
7. a'u coſpodd a ſychder,ac etto ni ddychwe-
laſant atto ef. Heſyd efe a darawodd eu
hŷd, a'u haml erddi, eu perllenni, eu
gwinllannoedd, eu ffiguſ-wydd, a'u ole-
wydd, a diflanniad, ac a mallder, a'r
lindis a'i hyſſodd hwynt, ac etto ni ddych-
welaſant atto ef. Yn ddiweddaf efe a'i
tarawodd hwynt a haint, ac a chleddyf, ac
a'i diniſtriodd, fel y diniſtriodd Sodom, a
Gomorrah, ac yr oeddynt fel pentewyn
wedi ei achub o loſci,etto er hyn ni throe-
ſant atto ef, nid ymchwelaſant attaf fi
medd yr Arglwydd.

Eithr bellach at y pwngc. O'r cwbl
oll yr wyfi yn caſclu hyn : Sef os rhyni a
amlhauwn ein camweddau, Duw yntau â
amlhà ei ddialeddau : Eithr yn y gwrth-
wyneb, os trown ni yn ddiledrith at yr
Arglwydd ein Duw a'n holl galonnau,
pob dialeddau â attelid oddiwrthym, pob
enbydrwydd â ragflaenid, a dim niwed
ni ddigwyddei i ni. Pe dychwelaſent ni
tharawſei efe hwynt, ond o herwydd na
ddychwelent efe ai tarawodd.

Eithr bellach adolwyn, dywedwch y
pwngc hwn, a mynegwch ar ychydig eriau,
ar

ar ba beth y mae ein heddwch, a'n llwyddiant cyffredin ni yn sefyll arno yn bennaf.

*Theol.* I'm tybi i, yr ychydig bethau hyn sy'n canlyn a berthyn i'n heddwch, ac nid amgen.

Dialed *Salomon* ar *Ioab*, a *Simei*.

Lladded *Ahab*, ac *Elias* Brophwydi, ac offeiriaid *Baal*.

Gwasanaethed *Aaron*, ac *Eleazar* o flaen yr Arglwydd yn ffyddlon.

Bwrier *Ionas* allan o'r llong.

Safed *Moses* ar yr adwy, ac na ostynged ei ddwylo.

Llywodraethed *Iosuah* yn ei lê ef.

Ofned *Cornelius* Dduw ynghyd ai holl deulu.

Bydded *Tabitha* yn llawn o weithredoedd da, ac elusenau.

Bydded *Debora* tros hir amser yn barnu *Israel*, llwyddianned, a buddugoliaethed.

Gweddiwn bawb na ddiffodder cannwyll *Israel*.

A hyn yn fy meddwl i, yw crynodeb y pethau a berthynant i'n heddwch a'n ffynniant ni.

*Phila.* Ystyriaeth ein holl ymddiddan ni hyd yma, a ellir ei grynhoi, hyd yr wyfi yn cofio, i'r ychydig byngciau hyn.

Yn gyntaf, naturiol lygredigaeth dyn a yspyswyd.

Yn ail, y ffrwythau gwenwynig sy yn tyfu oddiwrtho.

Yn drydydd, drŵg ddigwyddiadau y rheini: Au gweithrediadau halogedig yn erbyn ein eneidiau, ein cyrph, ein cyfoeth, ein geirda, ac yn erbyn ein holl wlâd.

Yn olaf, yr ymwared, neu'r cyphyriau meddiginiaeth yn erbyn y cwbl. Bellach mi â ewyllysiwn dynnu at ryw ddiben am y peth y soniasoch am dano ar y ffordd, sef arwyddion iechydwriaeth, a damnedigaeth. Mynegwch i ni yn hyspys, â ellir dirnad yn eglur yn y byd ymma, wrth arwyddion ansiommedig, ac argoelion hynod, gyflwr enaid dyn oflaen Duw?

*Theol.* At y rhai à grybwyllwyd or blaen, nyni á allwn chwanegu y naw hyn sy'n canlyn.

Naw arwydd o enaid holliach.

Parch ar enw Duw.
Cadw ei Sabcthau.
Gwirionedd.
Sobrwydd.
Diwydrwydd.
Tosturi.
Gostyngeiddrwydd.
Diweirdeb.
Bodlonrhwydd.

*Phila.* Cyfaddef yr wyf am y rhain, eu bod yn arwyddiōn da, ond er hynny nid ydynt

ydynt oll yn sicer: Canys fe ddichon rhai o honynt fod mewn dynion gwrthedigedig.

*Theol.* Beth a ddywedwch chwi wrth arwyddion Saint *Petr: Y rhai a osodir yn y bennod gyntaf or eilfed Epistol:* Sef, yr wyth hyn. 2 Petr. 5. 6. 7.

Ffydd.
Rhinwedd.
Gwybodaeth.
Cymmedroldeb.
Ammynedd.
Duwioldeb.
Caredigrwydd brawdol.
Cariad.

wyth arwydd Saint *Petr* o iechydwriaeth.

Saint *Petr* á ddywed, os byddwn ar pethau hynny cennym, ac yn *aml hwynt, peri a wnant na bôm na diffrwyth, na segur yngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist:* yr hyn sy gymmaint a phe dywedasei: hwy a'n gwnant ni yn gwbl-iachus, ac yn ddiragreithus Brossessŵyr yr Efengyl. 2 Pet. 1. 8.

*Phila.* Yr wyf yn cysaddeu fod y rhain oll yn arwyddion didwyll, ac yn siccrwydd anhybus o iechydwriaeth dŷn: Ond etto fe ddichon rhai o'r rhain ein twyllo: Am hynny myfi á ewyllysiwn glywed gennych siccrwydd anwrtheb, ac ansiommedig, y cyfryw ac nas gallo vn cyfreithwr gael twll ynddo, na lle i feio arno. Canys yr wyf fi yn

meddwl y dichon y Pregeth-wr duwiol-ddysc iawn-farnu am ficcrwydd *yr etifedaiaeth Nefol ; yn gystal ac y dichon y cyfreith wr deddfol-ddysc roddi barn am scrifennadau, a meddianau vchelwriaeth fydol.*

*Theol.* Gwir yw hynny. Ac myfi á fynnwn pe dygei holl bobl yr Arglwydd ficcrwydd eu iechydwriaeth ger bron iw gweled fel y gallem eu adnabod.

*Phila.* Moeswch glywed gan hynny pa rai yw yr arwyddion diamheuaf, ac ansiommedicaf o iechydwriaeth dyn : yn erbyn y rhai nid oes le i ddadleu, ac ni ellir eu hybu.

*Theol.* Yr wyf fi yn cymmeryd y rhai hyn yn arwyddion difregufaf, a diamheuaf : nid amgen:

Arwyddion iechydwriaeth.

Ffydd ddiogel yn addewidion Duw.
Purdeb calon.
Yspryd mabwysiad.
Adenedigaeth gwbl-iach, a fancteiddiad.
Heddwch cydwybod.
Cadarn-wraidd mewn gwirionedd.
Parhau hyd y diwedd.

*Phila.* Yr awr'hon y daethoch yn agos at y byw : Canys, yn fy marn i, ni ellir cael yr vn o'r rhai hyn mewn vn-dŷn gwrthodedig. Ac am hynny yr wyfi yn tybied, na ddichon vn Pregethwr lyfu yr vn o'r arwyddion hyn.

*Theol.*

*Theol.* Naddichon yn wir: mwy nac y dichon cyfreith-wr feio ar fraint tîr, ac vchelwriaeth, pan fyddo'r cyfiawnder yn dda, ac yn ddichlin wrth gyfraith, a'r siccrwydd wedi ei selio, a gosod henwau wrtho, ei dderbyn gan y pwrcaswr, a digon o dystion wrtho, pan fyddo meddiant wedi ei roddi, a phôb perthynas am ben hyn wedi ei gyfiawni wrth reol, a threfn cyfraith.

Canys pwy bynnac sydd ganddo y rhinweddau vchod, sydd ddigon da, a diogel ei hawl, ai fraint i'r nefoedd, wrth gyfraith *Moses* a'r Prophwydi, sef gwir air Duw. Duw ei hûn a roes ei law wrth ei siccrwydd ef: Crist Iesu ai traddododd megis ei weithred ei hûn: yr yspryd glan a'i seliodd: ie ar tri thŷst mawrion yn testiolaethu ar y ddaiar, (sef y dwfr, ar gwaed, a'r yspryd) ydynt gyd-tystion o'r peth.

Act. 16 31. Jo.1.41. Rhuf. 8 14.ac 5 1 1 Thes 4 15. Col. 1. 23. Mat. 24 13.

*Phila.* Fo'm bodlonwyd i yn helaeth am y pwngc hwn: Eithr yr wyfi yn casclu vn peth etto oddiwrth eich ymadrodd chwi: sef eich bod chwi yn tybied, y dichon dyn yn y bywyd yma, fod yn gwbl siccr o'i iechydwriaeth.

*Theol.* Hynny yw fy meddwl: Canys pwy bynnac ni wypo yn y byd yma, y bydd cadwedig, ni chaiff hwnnw byth fod yn gadwedig, yn ôl y bywyd yma: Canys medd-

medd *Ioan* Sanct: *Yr awr hon meibion i Dduw ydym.* 1 Io. 3. 2.

*Phila.* Etto o herwydd bod rhai yn ammeu hyn, a'r Papist yn ei wadu yn hollawl, attolwg, cadarnhewch yr athrawiaeth hon, allan o'r Scrythyrau.

*Theol.* Yr Apostol á ddywed. *Nyni a wyddom, os daiarol dŷ y babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ, nid o waith llaw, ond tragwyddol yn y nefoedd:* Deliwch sulw ar y peth á ddywed, sef ei fod efe ei hûn, a phawb eraill o bobl Dduw yn gwybod yn ddiogel, fod y nefoedd wedi ei pharatoi iddynt.

2 Cor. 5. 1.

Canys y mae *yspryd mabwysiad yn cydtestiolaethu a'n hyspryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw.* Rhuf. 8. 15. 16.

Drachefn yr yn Apostol á ddywed. *O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon â rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn i mi yn y dydd hwnnw; ac nid yn unic i mi, ond i bawb hefyd a garant ei ymddangosiad ef.* 2 Tim. 4 8.

Yma y gelwn ei fod efe yn gwybod, fod coron wedi ei pharatoi iddo, ac ir holl etholedigion. A'r vn rhyw yspryd á siccrhaodd hyn i *Paul*, ai siccrhâ hefyd i holl blant Duw: Canys y mae ganddynt oll yr vn yspryd, er nad yw gan bawb yn yr vn mesur, S. *Ioan* hefyd á ddywed, *Wrth*

*hyn*

*hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn* 1 Io.2.
*ni ei orchymynion ef.* Yn yr hyn eiriau y
mae *Ioan* S. yn dangos i ni hyn, sef os
gwnawn ein goreu yn ddiragrith i vfydd-
hau i Dduw, y mae ynom wir wybodaeth
ac ofn Duw, ac yn ddilynawl ni á allwn
fod yn siccr y byddwn cadwedig.

S. *Petr* â ddywed. *Byddwch ddiwyd i* 2 Pet. 1
*wneuthur eich galwedigaeth, a'ch etholedi-* 10.
*gaeth yn siccr.* O ba herwydd y cynghorei
yr Apostol i ni wneuthur ein etholedgaeth
yn siccr, oni allai neb fod yn siccr o honi?
Yn yr a:lsed at yr Ephesiaid y dywaid yr
Apostol yn ddiammeu, ein bod eusys yn
Ghrist Jesu *yn eistedd gyd ag ef yn y nefo-*
*lion leoedd.* Ei feddwl ef yw, nid ein bod
ni yno eusys mewn meddiant, ond ein
bod ni mor siccr o honaw, a phe baem
yno eusys

Y rhesymmau yw y rhai hyn. *Y mae* Io.12.32.
*Christ ein pen ni yno mewn meddiant, am*
*hynny efe a dynn ei holl aelodau atto megis* Io.14.13.
*y dywedodd.*

Yn ail, y mae cyn siccred i ni gael y peth
yr ydym yn ei obeithio, ar peth yr ydym
yn ei feddiannu; eithr yr ydym yn siccr
or peth a feddiannwn, sef gweithrediad
grâs, am hynny yr ydym yn siccr or
peth a ddisgwyliwn, yr hyn yw ccron y
gogoniant. Llawer o fannau eraill or
Scrythyrau sanctaidd â ellid eu dwyn i'r
perwyl

perwyl yma, ond yr wyf yn tybied mai digon yw hyn.

*Phila.* Fel y dangosasoch hyn or Scrythyrau: felly dangoswch yn eglurach etto wrth reswm, allan o honynt.

*Theol.* A ddichon dyn mewn gwirionedd alw Duw yn dâd iddo, (pan ddywedo, ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd) ac er hynny ammeu â ydyw efe yn dâd iddo, ai nad yw? Canys os yw Duw yn dâd i ni, â ninneu yn blant iddo ynteu, pa fodd y byddwn colledig? pa fodd y gellir ein condemnio? A gondemnia Tâd ei blant ei hûn? Na wna, na wna. *Rhuf.* 8. 1. 33, 34.

*Nid oes damnedigaeth ir rhai ydynt yng-Hrist Iesu. A phwy a rŷdd ddim yn erbyn etholedigion Duw? Duw yw'r hwn sydd yn cyfiawnhau, pwy yw'r hwn sydd yn damnio?* Gan hynny siccr, a diogel yw y bydd cadwedig pawb ar â alwant Dduw yn dâd iddynt mewn gwirionedd, pawb ar â gymmerant Dduw yn dâd.

Drachefn, pa fodd y gall dyn ddywedyd mewn gwirionedd ei fod yn credu maddeuaint pechodau, ac etto ammeu a fydd efe cadwedig? Ymhellach cyn siccred ac y gwyddom ei'n bod wedi ein galw, a'n cyfiawnhau, a'n sancteiddio, y gwyddom hefyd y cawn ein gogoneddu: Ond nyni â wyddom y naill yn ddiammeu, am hynny y gwyddom y llall. *Antil.*

*Antil.* Ni choeliaf fi byth y dichon neb wybod yn ficcr, yn y byd yma, pa vn â fydd efe, ai cadwedig, ai colledig: Eithr rhaid i bawb obeithio 'r goreu, a bod o grediniaeth dda.

*Theol.* Nagê, rhaid yw myned ym mhellach na gobeithio 'r goreu. Ni wafanaetha i ni ofod fail ein iachawdwriaeth ar obeithion anficcr.

Megis pe gobeithiei vn, y bydd y foru yn ddiwrnod têg, ond ni ŵyr yn hyfpys. Nagê rhaid i ni yn yr achos yma, ac ynteu or cyfryw bwys anfeidrol ag y mae, gael rhyw ficcrwydd, ac yfpyfrwydd ddiymmod. Nyni a welwn, mai anhawdd gan ddynion bydol-feddwl ddal eu tiroedd, a'u cymmeriadau, a gwan-afael heb ganddynt ddim i ddangos am danynt.

Nid ymddiriedant i rywiogeiddrwydd eu meiftred-tîr, gan arcs, a difgwyl yn vnig wrth eu ewyllys da hwynt. Ni rônt moi hyder ar obaith anficcr. Na wnânt ddim, y maent yn gallach na hynny. Oblegit y mae *plant y byd hwn yn gallach yn eu cenhedlaeth, na phlant y goleuni.* Hwy â fynnant yn ddigellwair ryw beth iw ddangos, ac ai mynnant tan fêl. Nid ymddiriedant ir cyllidwyr duwiolaf, a goneftaf. Ni fedrant ymlonyddu na bod yn efmwyth nes cael ficcrwydd mewn dû a gwyn, a hynny drwy'r cyngor goreu â fedro'r cyfreithwr

Luc. 16. 8.

freithwr

freithwr cyfarwyddaf ynghyfraith y deyrnas, ei dynnu iddynt.

A ydyw plant y byd hwn cyn galled yn y pethau gwael hyn, ac oni byddwn ni mor gall â hwythau mewn materion mwy o bwys, a mîl o weithiau yn rhagori arnynt? A ydynt hwy mor gall am y ddaiar, ac oni byddwn ni callach am y Nefoedd? A yddynt hwy cyn galled am eu cyrph, ac oni byddwn ni call am ein eneidiau? A ddaliwn ni fraint ein etifeddiaeth anfarwol, wrth ein gobaith dda, ac heb gynnym, nac fcrifennadau, na ficcrwydd, na fêl, na thyftion, na dim iw ddangos am danc? Och fi, nid yw hyn ond hawl wan, braint ferfyll, a gafael anficcr.

Afune. *Etto er hyn ei gyd, ni ddichon dyn fod yn ficcr.*

*Theol.* Dichon, fe â ddywaid *Ioan*
1 Joan 4. 13. Sant y gallwn fod yn ficcr. Canys medd efe? *Wrth hyn y gwyddom ein bod yn trigo ynddo ef, ac yntef ynom ninneu, am ddarfod iddo roddi i ni o'i yfpryd.* Nid yw efe yn dywedyd, yr ym ni yn gobeithio, ond nyni â wyddom yn hyfpys. Oblegit pwy bynnac fydd ganddo Yfpryd Duw, â ŵyr yn hyfpys ei fod ef ganddo. A'r nêb fydd ganddo ffydd â ŵyr fod ganddo ffydd. A'r neb a fyddo cadwedig a ŵyr y bydd cadwedig.

Canys nid ydyw Duw yn gweithio ynghalonnau dynion drwy ei Yfpryd mor

ddir-

ddirgel, ac na allant wybod yn hawdd â ydynt o honaw ef, a'i nad ydynt, os mynnant wneuthur prawf o hynny. Drachefn, yr vn Apostol â ddywed, *Yneb à gredo ym màb Duw, sydd ar destiolaeth ynddo ei hûn.* Hynny yw, y mae ganddo yn ei gydwybod ei hun destiolaeth ddiymmod y bydd efe cadwedig. Oblegit rhaid yw i ni gyrchu siccrwydd ein iachawdwriaeth, allan o honom ein hunain, sef oddiwrth waith Duw ynom. 1 Io. 5. 10.

Canys pa mŵyaf â glywo dyn ynddo ei hûn o gynnydd gwybodaeth, vfydd-dod, a duwioldeb: O hynny y mae ganddo fwy o siccrwydd y bydd efe cadwedig. Cydwybod dŷn ei hûn â weithia lawer tu ag at hynny, yr hon ni ddichon na dywedyd celwydd, na siommi.

Canys felly y dywed y gŵr doeth: *Megis mewn dwfr y mae wyneb yn atteb i wyneb: Felly y mae dyn i ddyn.* Hynny yw, meddwl a chydwybod dyn â ddengys iddo yn vnion (er na ddengys iddo yn berffaith) pa fâth ydyw. Oblegit ni thwylla'r gydwybod: Eithr hi â wna naill, ai cyhuddo, ai escusodi dyn, megis pet sai fîl o dystion. Dihar. 27. 19.

Yr Apostol hefyd à ddywed, *Pa ddyn à edwyn bethau dyn, ond Yspryd dyn yr hwn sydd ynddo ef.* Ac eilchwel. *Cannwyll yr Arglwydd yw Yspryd dyn yn chwilio holl gelloedd y bol.* 1 Cor. 2. 11. Dihar 20 27.

Felly

Felly peth amlwg yw, fod yn rhaid i ddyn gyrchu at weithrediad gràs Duw ynddo ei hûn, sef yn ei enaid. Canys oddi yno y caiff siccrwydd diogel ryw ffordd neu ei gilydd. Oblegid megis y gwybu *Rebecca* yn hyspys, wrth ymryson, ac ymwthio y gefelliaid yn ei chrôth, ei bod yn feichiog fyw: Felly y gŵyr plant Duw yn hyspys wrth gynhyrfiadau, ac ymsymmudiadau Yspryd Duw ynddynt, eu bod megis yn feichiog ar Grist, ac y cânt yn ddiau fod yn gadwedig.

*Phila.* Attolwg gedwch i ni ddyfod at sylfaen y siccrwydd hwn o iechydwriaeth, a lleferwch ychydig am hwnnw.

*Theol.* Sylfaen ein iachawdwriaeth ni â osodwyd ar dragwyddol etholedigaeth Duw, ac o herwydd hynny sefyll y mae yn gadarn, ac yn ddisigl. Megis y mae
1 Thes. 5. 24. yn scrifennedig. *Y mae sail Duw yn sefyll yn gadarn.* A thrachefn, *Fyddlon yw'r*
2 Tim 2. 13, 19. *hwn â addawodd, os ym ni heb gredu, etto y mae efe yn aros yn ffyddlon.*

Felly megis yr ŷm ni yn ei adnabod† ef yn hyspys ynom ein hunain, wrth ei fod yn canlyn etholedigaeth: Yn yr un modd, y mae yn sefyll yn ddiogel o herwydd Duw, ai dragwydol orhinhâd, yr hwn sydd anghyfnewidiol. Ac nis gall mîloedd o wendid, a deffygion (nagê holl bechodau 'r byd, na holl gythreuliaid vffern) ddadymchwel etholedigaeth Duw. Ob-

† Sef ein iechydwriaeth.

Oblegid ein Harglwydd Iesu a ddywaid. *Yr hyn oll y mae'r Tad yn ei roddi i mi, a ddaw attafi,* A thrachefn. *Hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd i, o'r cwbl a roddes efe i mi, na chollwn ddim o honaw, eithr bod i mi ei adgyfodi ef yn y dydd diweddaf.* Ac mewn man arall y dywed ein Achubwr Crist. *Y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais i, ac mi ai hadwaen hwynt, â hwy a'm canlynant i; a minneu ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol, ac ni chyfrgollant byth: ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i. Fy Nhâd i yr hwn a'u rhoddes i mi sydd fwy na phawb, ac nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhâd i.* Wrth hyn nyni â ddylem fod mor sicer o'n iachawdwriaeth, ac o beth bynnag arall á addawodd Duw, neu yr ydym rwymedig iw gredu. Canys ammeu o honaw, o herwydd gwirionedd Duw, sydd gabledigaeth yn erbyn anghyfnewidioldeb dianwadalwch ei wirionedd ef.

Jo.6.37.

Joan 10. 27.

*Phila.* Eithr, oni chair weithiau beth ammeu a gwan ymddiried o ran y siccrwydd hwn, ie yn yr etholedigion, ar rhai cadarnaf eu ffydd?

*Theol.* Ceir yn wir. Canys y neb nid amheuodd erioed, ni wir-gredodd erioed. Oblegit pwy bynnac sydd yn gwir-gredu a glyw weithiau ynddo ei hûn amheuon, ac anhyder, megis y clyw corph iachus

lawer

lawer achraeth doluriau, yr hyn beth nis clywei oni bai ei fod yn iachus.

Oblegit nid wrth lygredigaeth yr ydym ni yn dirnad llygredigaeth, ond wrth râs yr ydym ni yn adnabod llygredigaeth; ac pa mwyaf a gaffom o râs, mwyaf o gwbl yr ymwrandawn a'n llygredigaeth. Y mae rhai mor grwyn-deneuon, ac mor dyner eu modiad, ac y medrant ddirnad pwys y bluen yscafnaf, er esmwythed y gosoder hi ar gledr eu dwylo: Yr hyn beth nis dichon eraill a fyddont croen-dewion, a chaled eu cnawd, cyn hawsed ei ddirnad: felly diogel yw er bod plant Duw ar amserau, yn petruso, ac yn ammeu o'u iachawdwriaeth, etto nid yw hynny yn dadymchwel siccrwydd eu hiechydwriaeth, ond yn hytrach yn arwydd hygoel o iachusrwydd, a bywiogrwydd eu heneidiau.

Canys pan glywer yn yr enaid y cyfryw achreth, ac iasau, yna y mae plant Duw yn gosod yn eu herbyn, megis i dorri'r gwres, siccrwydd gwirionedd Duw, a'i addewidion, ac felly yn eu gorchfygu yn esmwyth iw mawr ddiddanwch. Oblegid nid rhaid i bobl Dduw ofni yr amheuon hyn, yn taro weithiau arnynt, mwy nac yr ofnei gŵr ar farch heini, a'i gleddyf ar ei glûn, wrth farchogaeth drwy 'r heolydd,

lydd, glywed corgŵn yn ei gyſarth o'i ddeutu.

*Phila.* Dangoſwch etto yn eglurach, pa fodd, ac ar ba achoſion y dichon plant Duw wanffyddio, ac ammeu, ac er hynny bod yn ddiogel ddigon.

*Theol.* Megis dŷn ar ben cloch-dŷ o'r fâth vchaf, ac wedi ei rwymo yn dynn wrtho, fel na allei ſyrthio pes mynnei, er hynny pan edrychei tu ag i wared a oſnei, oblegit nad yw naturiaeth dyn gynnefin, ac arferol a dringo cyſuwch yn yr awyr, a chraffu ar y ddaiar, cyn iſſed oddi tano: Ond pan edrychei i fynu, a gweled ei fod yn rhwym, ac allan o enbydrwydd: Yno ni byddei arno nac ofn, nac arſwyd: felly ninnau pan edrychom i wared arnom ein hunain, yna yr ydym yn ofni, ac yn ammeu o'n iechydwriaeth: ond pan edrychom i fynu ar Griſt, ac ar wirionedd ei addewidion ef, ni a'n cawn ein hunain yn gwbl ſiccr, drwy fôd ynglŷn wrtho ef, ac yna y gwelwn nad rhaid i ni ammeu dim mwyach.

*Phila.* Mynegwch i ni, beth yw priſachos yr amheuon, yr ofn, y petruſedd, ar gwanffyddio yma, ac o ba le y maent yn tarddu allan ym mhlant Duw?

*Theol.* Tarddu y maent oddiwrth amherffeithrwydd ein adenedigaeth, ac oddiwrth yr ymdrech, a'r ymryſon ſydd rhwng

ffydd,

ffydd, ac anghrediniaeth, ym meddyliau yr etholedigion.

Canys y ddau hyn ydynt yn ymgeccreth, ac yn ymaflyd a'u gilydd yn anguriol yn y rhai duwiolaf, gan ymorchestu i geisio meistroli, a gorthrechu, y naill y llall: Ac o herwydd hyn y mae yn digwyddo ar amserau, drwy fod anghredinaeth yn cael y llaw vchaf, fod y rhai godidoccaf o weision Duw, a mwyaf eu athrylith ar dduwioldeb, yn ofidus mewn llewygon, a ffeintiadau annobaith: megis y digwyddodd i *Job*, a *Dafydd* yn eu profedigaethau.

Ac yn y dyddiau hyn, y mae rhai o blant Duw, yn cael llawer maethgen drom, a'u trin yn erwyn yn yr achosion hyn; ie a'u tynnu i lawr yn issel hyd at ddrws marwolaeth: Ond etto y mae yr Arglwydd o'i fawr drugaredd yn eu cynnal hwynt ai law, gan eu hachub rhag llwyr syrthio, yn hollawl, na chwaith yn dragwyddawl: yn vnig hwy a ostyngir, ac a brofir tros amser drwy yr iasau tostion hyn, a hynny er mawr lesâd, a daioni iddynt.

Oblegid megis yr arferwn o ddywedyd, pan fo'r crŷd ar ŵr ieuangc, mai argoel iechyd ydyw: Felly yr iasau brydion hyn o brofedigaethau yn yr etholedigion ydynt fynychaf arwyddion hygoel o râs,

a

a charedigrwydd Duw.

Oblegit oni bai fod y ffeintiadau, a'r llewygon hyn oddi wrth Dduw, ni byddei'r cythraul mor bryffur, ac mor daer-ddrwg, yn gweithio arnynt.

*Phila.* Onid gwir ryfig, a gormod hyder arnom ein hunain fyddei bod yn gwbl-ficcr o'n iachawdwriaeth?

*Theol.* Nagê. Oblegid fail y ficcrwydd yma, nid arnom ein hunain y mae wedi ei ofod, nac ar ddim fydd gennym oddifewn, nac oddiallan i ni, ond yn vnig yngh-yfiawnder Crift, ac ar addewidion Duw o drugaredd.

Canys nid rhyfig yw credu'r peth â addawodd Duw, â bwrcafodd Crift; ac â feliodd yr Yfpryd glân: Nagê yn ddiau, nid gormod hyder arnom ein hunain: Ond y peth yr ydym ni bawb yn rhwymedig iw gredu, ac i fefyll wrtho, fel yr attebom yn ofnadwy ddydd y farn. Am danom ein hunain, cyfaddeu yr ydym yn byrwydd, nad ŷm ni ddim amgen yngolwg Duw, ond megis telpynau, a fwppiau o bechod, a phob vn o honom megis clamp o drueni, ac na allwn o honom ein hunain gymmaint a fymmud llaw, na throed i ofod dim ym mlaen o waith ein iachawdwriaeth: Eithr wedi ein cyfiawnhau drwy ffydd y mae heddwch rhyngom a Duw, a ninnau yn hyderus gennym, y dengys efe

i ni garedigrwydd, a ffafor yng-Hrist.

*Phila.* A pheth â ddywedwch chwi am y rhai anghymmeradwy, ac annuwiol, oni ddichon y rheini fod yn ficcr o'u iachawdwriaeth?

*Theol.* Na allant ddim. Canys y Prophwyd a ddywed: *Ni bydd heddwch medd fy nuw i'r rhai annuwiol.* Or geiriau yma yr ymresymmaf fel hyn: Y rhai nid oes ganddynt ddim heddwch oddimewn, ni allant fod yn ficcr o'u iechydwriaeth: Ond gan yr annuwiol nid oes dim heddwch oddimewn, am hynny ni allan hwy fod yn ficcr. Ffydd ddiymmod yn yr addewidion fydd yn ficcrhau, eithr nid oes gan yr annuwiol ddim ffydd ddiymmod, a difigl yn yr addewidion, am hynny ni allant fod yn ficcr. Yspryd mabwysiad fydd yn ficcrhau, ond nid oes gan y drygionus yspryd mabwysiad; am hynny ni allant fod yn ficcr.

Esay 57.21.

I benglymmu hyn, pan glywo dyn ynddo ei hun gydwybod ddrwg, dallineb meddwl, buchedd aflân, ac anufydd-dod, fe bair hynny iddo (heb ddiolch yn ei ddannedd) ganu y marwnad hwn, sef ni wn pa vn â fyddaf a'i cadwedig, ai colledig.

*Phila.* Onid yw yr athrawiaeth hon am ficcrwydd iachawdwriaeth, yn athrawiaeth ddiddanus, a chyssurus?

*Theol.* Ydyw yn wir. Canys oddieithr

thr bod yn ſiccr o ffaſor Duw, a maddeuant pechodau, ac yn ddilynawl i hynny, o'i iechydwriaeth ei hûn, pa gyſſur a all ſod ganddo mewn dim? Heb law hyn, bod yn ſiccr o gariad Duw tu ag attom, yw gwreiddin ein cariad ninnau, a'n uſydddod digymmell tu ag atto yntef.

Oblegid am hynny yr ydym ni yn ei garu ef, ac yn vſyddhau iddo, o herwydd ein bod yn gwybod iddo ef yn caru ni yn gyntaf; ac ſcrifennu ein henwau yn llyfr y bywyd. Eithr yngwrthwyneb i hyn, athrawiaeth gwŷr Rhufain yn dyſcu y dylei ddynion ammeu, ac ofni yn oeſtadol, ag ofn caeth, athrawiaeth gythreulig ydyw, ac anghyſſurus: Canys tra y dalio dŷn honno, pa galondid a ddichon bod ganddo i waſanaethu Duw? Pa gariad tu ag at ei ſawrhydi ef? pa obaith yn ei addewidion? Pa gyſſur mewn trallod? Ac pa ammynedd mewn adfydwch.

*Antil.* Am y pwngc yma, yr wyfi o'ch meddwl chwi yn vnion: Canys tybied yr wyf y dylei ddŷn ſod yn gwbl-ſiccr o'i iechydwriaeth. Ac o'm rhan ſy hûn nid wyf yn ammeu dim o honaw; ond gobeithio yr wyf ſod yn gadwedig yn gyſtal ar goreu o honynt: Nid oes arnaf mor ofn am hynny.

Oblegid y mae gennif y cyfryw ffydd ddiogel yn Nuw, a phe na bai ond dau

N ddŷn

ddŷn yn y bŷd i fod yn gadwedig, gobeithio yr wyf y byddwn i vn or ddau hynny.

*Theol.* Yr ydych chwi yn hyderus tros ben. Ac yn ficcr ddiogel cyn gwybod. Myfi a fynnwn pe bai eich fail mor ddisigl, ac y mae eich hyder yn ofer-wag. Pwy mwy ei ffrofd o'i grefydd, na'r hwn nid edwyn iawn grefydd ? Pwy hyfach nar dall ? Nid yw eich gobaith ond tŷb, ac megis breuddwyd dŷn clâf; Gobeithio, ni wyddoch am ba beth.

Nid oes gennych ddim rhefwm iw roddi trofoch am yr hyn â ddywedwch : Oblegit pa obeithio â ellwch chwi eich bod yn gadwedig, gan nad ydych yn rhodio yn llwybrau iachawdwriaeth : Pa obeithio â wna dŷn allu dyfod i Lundain ar frŷs, ac yntef heb gerdded ffordd Lundain ? Ond yn y gwir wrthwyneb.

Pa obaith cael cnŵd o ŷd da, heb arfer y moddion, fef heb aredig, a llyfnu, a hau. Pa obeithio a wna neb o fod yn bwyntys, ac yn olygus, heb gymmeryd bwyd vn amfer. Pa obaith i ddiangc rhag boddi, i'r hwn a neidio yn waedwyllt ir môr? Felly yr vn ffunyd, pa obaith a ellwch chwi gael y byddwch cadwedig, a chwithau yn gwrthod, neu yn efceulufo rhodio yr iawn ffordd, ac ymarfer ar moddion, ond yn hytrach yn gwneuthur

pob

pob peth yngwrthwyneb i iechydwriaeth.

Canys nid oes ynoch chwi, ſywaeth, ddim o'r pethau á ddywed yr Scrythur eu bod yn angenrheidiol i'r cadwedig. Nid oes ynoch chwi yr vn o'r arwyddion, a'r argoelion, a grybwyllwyd or blaen.

Yr ydych yn anwybodus, yn ſydol, yn ddifraw. Nid oes dim gwaſanaethu Duw tan eich cronglwyd, dim ofn Duw nac ynoch chwi, nac yn eich teulu. Anſynych y gwrandewch chwi ar bregethu'r gair. Ymſodloni yr ydych ag eglwyſwr heb wybodaeth ganddo.

Nid oes yn eich teulu na gweddio, na darllain, na chanu pſalmau, nac athrawiaethu, na chyngori, na cheryddu, na dim ymarfer Griſtiannogawl. Nid oes gennych gydwybod o gadw y Sabothau, nac o arfer enw Duw yn barchedig: Torri allan a wnewch i dyngu yn anguriol, ac i regu yn ſceler.

Peth cynnefin gyd â chwi yw tyngu i'ch ffydd, ac i'ch gwirionedd: y mae eich gwraig yn anghrefyddol, a'ch plant yn anllywodraethus, ac yn anraſlawn, eich gwaſanaeth-ddynion yn ddrygionus, ac yn ddifraw. Yn eich tŷ yr ydych yn eſampl o annuwdeb. Allan yr ydych yn chwarydd mawr, yn rhodreſ-wr, yn afradlon, yn ŷſwr, yn drammwy-wr tafarneu, ac yn

buttein-wr; Ac i fyrhau, yn ymroi i bob dihirwch, a drygioni.

Gan hynny, attolwg dywedwch, neu yn hytrach gadewch i'ch cydwybod ddywedyd i mi, pa obeithio a ellwch chwi fod yn gadwedig tra fyddoch yn rhodio, ar ôl yr helynt yma, ac y parhaoch yn dilyn hirddrŵg? Onid yw *S. Joan* yn dywedyd: *Os dywedwn fod i ni gymdeithas ag ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym.* Onid yw yr vn Apostol yn dywedyd, am y rhai a ddywedant *eu bod yn adnabod*

1 Jo. 1. 6. *Duw, ac heb gadw ei orchymynnion, mai*
c 2. 4. *celwyddog ydynt?* Onid yw efe yn dywe-
c 3. 8. dyd drachefn: *Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, o ddiafol y mae. A phob vn sy heb wneuthur cyfiawnder nid yw o Dduw.*

Onid yw ein Harglwydd Jesu yn dywedyd wrth yr Juddewon (y rhai a ymffrostient mai *Abraham* oedd eu tâd) eu bod or tâd diafol, am eu bod yn *gwneuthur ei weithredoedd ef?* Oni ddywed yr Apostol *Paul*: *Ein bod yn weision i'r*

Rhuf. 6. 16. *hwn yr vfyddhaom iddo, pa vn bynnag, ai i bechod i farwolaeth, ai i vfydd-dod i gyfiawnder?* Oni ddywed yr Scrythur:

1 Jo. 3. 7. *Yr hwn a wnel gyfiawnder sydd gyfiawn.* Onid yw ein Harglwydd Jesu yn dyscu,

Math. 7. 21. *Nad pob vn a ddywedo, Arglwydd, Arglwydd a ddaw i deyrnas nefoedd, ond yr*

*hwn*

*hwn a wnêl ewyllys fy nhàd, yr hwn sydd yn y nefoedd?* Am hynny, bwrw yr wyf, gan fod holl ystod eich buchedd yn gnawdol, yn ddîfraw, ac yn afreolus, na all fod gennych obaith ddichlin-gwbl, a safadwy y byddwch cadwedig.

*Phila.* Yr wyf fi yn tybied fod cyflwr y gŵr yma (megis yr egluraſoch yr awrhon) yn gyflwr miloedd o bobl eraill, yn gystal ag yntef.

*Theol.* Je yn ddiau: dyna gyflwr milfyrddiwn o ddynion fel y mae swyaf grefyndod.

Asune. *Yn araf dêg Syr. Yr ydych chwi yn rhŷ bryssur. Tân araf a wna frâg melus. Gobeithio 'y gwyddoch mai drwy drugaredd, ac nid drwy haeddedigaeth y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig. Pe gallwn i wneuthur y cwbl fy hún, beth a wneid a Christ? Gobeithio y gwna efe trosof fi, yr hyn ni allwyf fy hún ei wneuthur. A gobeithio yr wyf y byddaf cadwedig trwy Grist Jesu yn gystal ar goreu o honoch chwi oll.*

*Theol.* O, myfi a welaf yr awr-hon i ba le y mae y chwareu yn tueddu. Chwi a chwennychech wneuthur Crist yn farchgynfas i guddio eich pechodau; Chwi a fynnech bechu fel yr amlhao grâs. Chwi a fynnech yn ddi-rûs, ac yn ddiymmattal, roi Crist i atteb am y cyfan. Yn wir y

mae llawer or vn-rhyw feddwl a chwithau, y rhai wrth glywed sôn am fawr drugaredd Dduw yng-Hrist, â wneir yn hyfach i bechu.

Eithr hwy a gânt wybod, ryw ddydd, iw dialedd ei hunain, beth yw cam-arfer trugaredd Dduw.

uf.2.4. Yr Apostol â ddywed: *y dylei trugaredd a daioni Duw ein tywys i edifeirwch.* Eithr nyni a welwn ei fod yn tywys llawer i fwy o galedrwydd calon. Y Prophwyd

Sal.130. â ddywed: *ondy mae gyd â thi faddeuant fel i'th ofner:* Eithr y mae llawer, o hyder ar faddeuant yn ymddiofalhau, ac yn diddarbodi. Ond i saethu yn nes at y nôd, chwi a ddywedwch eich bod yn gobeithio y byddwch gadwedig drwy Jesu Grist.

Ac yr wyfi yn atteb; o cheir ynoch chwi y pethau y mae yr Scrythyrau yn dangos eu bod ym-mhawb ar â achubir ganddo, yna y gellwch chwithau fod yn hyderus, ac yn llwyr obeithiol; os amgen, na ellwch.

Yr Scrythyrau ydynt yn ordeinio, ac yn yspysu y matter fel hyn. Os bydd dŷn yng-Hrist, ac yn disgwyl bod yn gadwedig drwyddo ef, rhaid iddo fod ganddo y cyneddfau hyn sy'n canlyn.

[margin: ...w peth ...ofynnir ...n bawb a achu...er drwy ...rist.]

1. *Yn gyntaf, rhaid iddo fod yn greadur newydd.* 1 Cor.5. 17.

2. *Yn*

2. *Yn ail, rhaid iddo fyw nid ar ôl trachwantau dynion, ond yn ôl ewyllys Duw.* 1 Petr. 4. 2.

3. *Yn drydydd, rhaid iddo fod yn awyddus i weithredoedd da.* Tit. 2. 14.

4. *Yn bedwerydd, rhaid iddo farw i bechod, a byw i gyfiawnder.* Rhuf. 6. 14.

5. *Yn bummed, rhaid iddo fod yn sanctaidd, ac yn ddifeius.* Col. 1. 22.

6. *Yn chweched, rhaid iddo rodio felly, fel y rhodiodd Crist.* 1 Joan 2 6.

7. *Yn seithfed, rhaid iddo groeshoelio y cnawd yng-hyd ai wyniau, ai drachwantau.* Gal. 5. 24.

8. *Yn wythfed, rhaid iddo rodio nid ar ôl y cnawd, ond ar ôl yr yspryd.* Rhuf. 8. 1.

9. *Yn ddiweddaf, rhaid iddo wasanaethu Duw mewn cyfiawnder, a sancteidrwydd holl ddydd iau ei fywyd.* Luc. 1. 75.

Wele, pa bethau â ofynnir gan bawb a gadwer drwy Grist. Yn awr gan hynny, os yw y pethau hyn ynoch chwi yn ddiffûg ac mewn rhyw fesur o wirionedd, yna y mae eich gobaith chwi yn ddilis, yn gwbl-iach, ac yn dda: os amgen, ni thâl hi ddim. Canys ofer y dywed dynion eu bod yn gobeithio cael eu hachub drwy

Grist, â hwythau yn rhodio yn afreolus. Y rheswm am hyn yw, o herwydd mai rhaid ir aelodau fod yn gysson ar pen: eithr Crist ein pen ni sy sanctaidd, am hynny rhaid i ninnau, ei aelodau ef fod yn sanctaidd.

1 Petr.1. 16. Fel y mae yn scrifennedig: *byddwch sanctaidd, canys sanctaidd wyfi.* Eithr os nyni á gyssylltwn aelodau aflan, ac ambur ynghyd a'n pen sanctaidd Crist, dyna ni yn gwneuthur Crist yn anghenfil: megis pe cyssylltei ddŷn at ben llew, wddf arth, a chorph blaidd, a choesau llwynog. Oni byddei y fâth beth yn anghenfil anferth? Y cyffelyb beth a hyn â ddychymmygant hwy, y rhai â synnant fod tyngwyr, meddwon, putteinwyr, ar cyffelyb yn aelodau Crist, ac y cânt fywyd, ac iachawdwriaeth trwyddo ef. Eithr gan eich bod chwi yn rhyfygu cymmaint o Grist, attolwg, gadewch i mi ofyn i chwi vn peth.

*Antile.* Beth yw hwnnw?

*Theol.* Pa fodd y gwyddoch ddarfod i Grist farw trosoch chwi yn bendant, yn neillduol, ac yn enwedig?

*Antil.* Crist â fu farw tros bawb, ac am hynny trosof finnau hefyd.

*Theol.* Eithr ni bydd pawb cadwedig trwy Grist: pa fodd gan hynny y gwyddoch chwi eich bod yn vn or rhai sy

gan-

ganddynt hawl enwedigol i Grist, ac â achubir ganddo, drwy ei farwolaeth?

*Antil.* Hyn á wn i, ein bod ni oll yn bechaduriaid, ac na allwn fod yn gadwedig drwy fodd arall, ond drwy Grist.

*Theol.* Attebwch yn vnion i'm cwestiwn i; pa fodd y gwyddoch chwi ynoch eich hun, ac am danoch eich hun, eich bod yn vn or etholedigion, ac yn vn or rheini tros ba rai y bu farw Crist?

*Antil.* Mi â wn hynny wrth fy ffydd dda yn Duw, am fy mod yn rhoddi fy holl ymddiried ynddo ef, ac nid mewn neb arall.

*Theol.* Ond pa fodd y gwyddoch fod gennych ffydd? Neu pa fodd yr edwyn dyn ei ffydd ei hun?

*Antil.* Mi ai hadwaen wrth hyn, sef am fod gennif bob amser feddwl da, a chystal ffydd tu ag at Dduw, ac vn gŵr o'm galwedigaeth, ar nad yw lythyrennog. Mi â ofnais Dduw erioed, am holl galon, ac a'i gwasanaethais am gweddiau.

*Theol.* Beth felly? Pa ymdroi fel hyn o amgylch y berth? Attebwch i'm gofyn: Pa fodd y gwyddoch chwi yn hyspys, ac yn ddiammeu, farw o Grist drosoch chwi yn neilltuol, ac yn enwedig?

*Antile.* Chwi a yrrech ddyn yn ynfyd;

Chwi a'm tynnwch oddiwrth fy ffydd. Ac am gyrrwch oddiwrth Grist. Os ydych ar fedr fy nhynnu oddiwrth Grist, ni choeliaf byth i Chwi. Canys myfi â wn mai rhaid yw ein hachub trwyddo ef.

*Theol.* Nid wyfi yn amcanu eich gyrru chwi oddiwrth Grist. Oblegit pa fodd y gallaf eich tynnu oddiwrth Grist, gan na ddaethoch erioed i fod ynddo ef. Ond hyn yw'r peth sy'n eich siommi chwi, a llawer eraill, nid amgen, eich bod yn tybied eich bod yn credu yng-Hrist, o herwydd eich bod yn dywedyd eich bod yn credu yng-Hrist. Megis pe bai ffydd yn sefyll mewn geiriau, neu fel pe bai gan ddyn ffydd, am ei fod yn dywedyd hynny.

Od oes gan bob dyn ffydd, am ei fod yn dywedyd fod ganddo ffydd, ac od yw pob dyn â ddywedo ei fod yn credu yng-Hrist, am hynny yn credu yng-Hrist: Yna pwy ni bydd ganddo ffydd? Pwy nid yw yn credu? Ond mewn gwirionedd nid yw eich ffydd chwi, a ffydd llawer eraill ddim amgen ond tŷb, a dychymmig. Eithr etto er hyn ei gid, nid attebasoch mo'm cwestiwn ynghylch eich gwybodaeth neilltuol o Grist.

*Antile.* Ni fedraf fi eich atteb mewn amgen môdd nac i'ch attebais, ac i'm

tŷb

tŷb i, mi ach attebais yn ddigon dâ.

*Theol.* Na ddo, na ddo: Y mae blifcin ar eich tafod. Ni thâl eich atteb welltyn. Siarad yr ydych, ni wyddoch pa beth: Y cwestiwn hwn a'ch pendafadodd. Eithr pe bai yn eich calon wir wybodaeth, a bywiol synnied o Dduw, yno diogel fyddei gennif y rhoech atteb arall, amgenach â gwell na hyn. Yna y dywedasech rywbeth oddiwrth ymwrandawiad, a theimlad eich calon, ac oddiwrth waith grâs Duw ynoch: Ond oherwydd na fedrwch roddi trosoch, vn rheswm didrippiedig, farw o Grist trosoch chwi yn neilltuol, ac yn enwedig:

Am hynny yr wyf fi yn eich drwg-dybio, am nad ydych yr vn or rhai hynny, ar sy ganddynt hawl ddiledpai, a didwyll ynddo ef, ac i ba rai y mae ei farwolaeth ef yn wir fuddiol.

*Phila.* Yr wyfi yn tybied y gallei y cwestiwn ymma gau safnau, a gyrru taw ar lawer o ddynnion: ac nad oes nemmawr a fedrei atteb iddo yn gywir, ac yn vnion.

*Theol.* Diammeu yw hynny. Nid yw anwybod i mi, wrth brawf, ac adnabyddiaeth gresynol, na fedr vn dyn ym mhlith cant wneuthur atteb tacclus, ac vniawnwir i'r cwestiwn hwn. Je ni ŵyr neb ei atteb, oddieithr y rheini yn vnig, ym mha

rai

rai y gweithir y gwaith newydd; a thrŵy ddirgel weithrediad yr Ysp ryd, ydynt yn gwbl-siccr ganddynt, ac yn diammeu fod Crist yn eiddynt hwy. Mysi â ymddiddenais a rhai o synnwyr, a deall, a dysceidiaeth canmoladwy, ac er hynny pan ddaethant at hyn o dersyn, a phennod, o ran y pwngc hwn, a synnasant yn aruthr, heb wybod yn dda pa beth â attebent: Ac er medru o honynt wrth eu synnwyr a'u dysc ymresymmu yn drwyadl a dangos lliw, a bwrw hùd ar bethau, wrth ymddadleu, drwy ddirio rhyw fâth ar resymmau lledchwelan, a gweniaid: Er hynny nid oeddynt yn clywed ynddynt eu hunain ddim gwrês, na dim cynnwrf or peth yr ymddadleuent am dano: Ac am hynny nid oedd ganddynt ddim iawn siccrwydd, na dim diddanwch iw heineidiau oddiwrtho. Sancteiddiol Yspryd Duw yw'r hwn sy'n peri dirnad y siccrwydd ymma; ac heb glywed ynom y dirgel-waith hwn oddiwrth yr Yspryd, ni allwn byth roddi atteb dichlin gwbl, a dilippa ir cwestiwn hwn.

Gan hynny, dymma'r modd y pen-dersynnaf yr holl satter hwn. Megis na ddichon cangen y win-wydden dysu, a dwyn ffrwyth, onid erys yn y winwydden: Felly ni allwn ninnau gael bywyd ysprydol, onid arhoswn yng-Hrist, a bod gwedi ein gwir impio ynddo ef, drwy ffydd fywiol. Nis gall

gall neb gael dim llesâd oddiwrtho ond y rheini yn vnig â arhosant ynddo. Ni all neb fyw drwy Grist, oddieithr y rhai â newidwyd yng-Hrist. Nid oes neb yn gyfrannogion o'i gorph ef, ond y rhai ydynt yn ei gorph ef: Ni ddichon neb fod yn gadwedig drwy Grist groeshoeliedig, ond y rhai a groeshoeliwyd gyd â Christ. Ac nis gall neb gael byw gyd â Christ ynôl marw, ond y sawl ydynt yn meirw yma gyd ag ef, tra fyddont etto yn fyw. Am hynny cymmerwn wraidd i wared mewn marwhâd, fel y gallom flaguro i fynu, a thyfu mewn sancteiddiad. Byddwn feirw i bechod fel y gallom fyw i gyfiawnder: Byddwn farw yr awr-hon tra ydym etto yn byw, fel y gallom fyw yn ôl y bywyd yma, pan fyddom meirw.

Asune. *Oni bydd neb cadwedig drwy Grist; ond y cyfryw rai yn vnig a fyddo ynddynt y rhinweddau a ddywedasoch chwi? Duw a drugarhao wrthym. Wrth hynny y mae'r ffordd i'r Nefoedd yn gyfyng iawn. Ac ychydig fydd cadwedig: Canys nidd oes yn y byd, ond ychydig or fâth.*

*Theol.* Nid ydych yn camsynnied dim yn hynny: Canys pan ystyrier y cwl l, diddadl yw, mai ychydig fydd cadwedig, yr hyn beth a ddangosaf i chwi, wrth yr Scrythyrau, wrth resymmau, ac wrth siamplau.

Asune.

Asune. *Moeswch glywed brofi y peth yn gyntaf wrth yr Scrythyrau.*

*Theol.* Ein Harglwydd Jesu Grist a
Mat. 7. 13. ddywed: *Ewch i mewn trwy'r porth cyfyng, canys ehang yw'r porth, a llydan yw'r ffordd sydd yn arwain i ddestryw, a llawer yw'r rhai sydd yn myned i mewn trwyddi. Oblegid cyfyng yw'r porth a chul yw'r ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi.* Drachefn y dywed etc. *Llawer â alwyd, ac ychy-*
Mat. 20. 16. *dig a ddewiswyd.*

Mewn man arall yr ydym yn darllain am ryw ddyn a ddaeth at ein Achubwr Crist, ac a ofynnodd iddo: Ai ychydig â fyddant cadwedig? Ir hwn attebodd yr Arglwydd Jesu: *Ymdrechwch am sy-*
Luc. 13. 24. *ned i mewn i'r porth cyfyng, canys meddaf i chwi llawer a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant.* Yn yr hwn atteb, er nad yw ein Achubwr Crist yn atteb yn vnion i'r cwestiwn, na thrwy ddywedyd yn erbyn, na thrwy ddywedyd gyd a'r peth a ofynnasid iddo: Etto ei eiriau ef sy yn dangos yn eglur mai ychydig o rifedi a fydd cadwedig.

Oblegid y mae yn annog i ymdrechu yn orchestol, gan fwrw ammaid fod achos dirfyng i ymryson yn erbyn y byd, a'r cnawd, ar cythraul. Yn ail efe a ddywed fod y porth yn gyfyng, gan arwyddocau,

na all neb fyned i mewn yno heb ymwthio, ac ymhyrddu yn gryf, a dryllio ei yscwyddau gan mwyaf.

Yn drydydd efe â ddywed mai llawer a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant: gan feddwl wrth hyn y bydd llawer yn aros yn ôl, or sawl a geisiant fyned yno, am na cheisiant fel y dylent.

*Esay* a ddywed hefyd: *Oni buasei i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn weddill, fel Sodoma y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomorrah*: Yr Apostol sydd yn adrodd allan or Prophwyd: *Yr Arglwydd a orphen, ac a gwttoga y cyfrif mewn cyfiawnder, oblegid byrr gyfrif a wna yr Arglwydd ar y daiar.* Yr Scrythyrau hyn i'm tŷb i sy ddigon i brofi mai ychydig a fydd cadwedig. Esay 1.9. Rhuf. 9. 28. Esay 10. 22.

Asune. *Bellach, gadewch glywed eich rhesymmau.*

*Theol.* Os at reswm y deuwn, nyni â allwn ryfeddu yn hytrach y bydd neb cadwedig, na bod ychydig yn gadwedig. Oblegid y mae (wedi eu gosod i gynllwyn i ni ar y ffordd) yr holl rwystrau, a'r lluddias a'r a ddichon bod; a'r rheini yn gystal oddi mewn i ni ein hunain, ac oddi allan. Y mae genym rwysc y byd ei gyd i'n herbyn. Y mae yn sefyll i'n herbyn, holl gythreuliaid uffern, a'u holl gyrn, a'u pennau, a'u nerth anguriol, a'u ystrywiau anfei-

anfeidrol, eu cyfrwysdra cnoccellus, eu dichellion twyllodrus, a'u profedigaethau hoccedus.

Dymma ffrŵd grêf yn rhedeg yn chwyrn i'n herbyn. Yna y mae i'n herbyn, y byd presennol hwn, a chyd ag ef nifer anneirif o amryw fâth ar abwyd, hoenynnau, rhwydau, maglau, a hualau, i'n dala, i'n llesteirio, i'n maglu. Yn y naill fan y daw budd, a melusswedd, a golud, ac anrhydedd, cyfoeth, a goruchafiaeth, swyddymgais, a chybydd-dod.

Mewn man arall y daw llu Brenhinol o elynion ysprydol, ac anweledig. Yn ddiweddaf y mae ein cnawd ein hunain, sef ein natuiiaeth lygredig i'n herbyn: Je nyni ein hunain yn ein herbyn ein hunain.

A chyn beryccled gelynion i'n iechydwriaeth ydym ni ein hunain, ac ydyw y byd, neu'r Cythraul: Canys ein deall, an rhefwm, ein ewyllys, a'n gwyniau ydynt oll i'n herbyn. Ein fynwyr anianol fydd elyn i ni. Ein trachwantau, a'n nwydau afreolus ydynt yn cryfhau, ac yn cyfnerthu profedigaethau Satan.

Ac y maent oll wedi gwneuthur cyngrair ag ef yn ein herbyn ni, ac yn erbyn ein iechydwriaeth. Ymladd y maent oll tan ei faner ef, a derbyn eu cyflog ganddo. A hyn fydd galed, a thôst arnom ni, fed-

gan

gan y cythraul, oddimewn i ni ein hunain, blaid i'n herbyn, a'n bod ninnau yn dwyn ynom beunydd ein gelyn pennaf: yr hwn sydd barod, ar bob tro ddydd a nôs, i'n bradychu i ddwylo Satan: ie i agoryd y drŵs, ac iw ollwng ef i mewn i dorri ein gyddfau: yma gan hynny y gwelwn fod llu mawr o elynion ofnadwy, ac megis lleng o Angelion yn gwneuthur cynlllwyn yn erbyn ein eneidiau.

O ni id ydym ni druein mewn cyflwr gresynol, y rhai mal hyn â fradychir, ac a warcheir o bob parth? Gan hynny wrth ystyried y cwbl, enid oes i ni achos cyfiawn i ryfeddu, y bydd neb yn gadwedig? Oblegid pwy ni wêl, pwy ni wŷr fod milfyrddiwn yn myned ben-dramwnwgl i ddestryw, naill ai drwy brofedigaethau y byd, ai'r cnawd, ai'r cythraul? Ond etto ymhellach, mi â ddangosaf wrth reswm arall hynod, ac amlwg, fod rhifedi etholedigion Duw ar wyneb y ddaiar yn ychydig wrth gyffelybrwydd, yr hyn bêth â ellir ei ddirnad mal hyn.

Yn gyntaf tynner ymmaith oddiwrthym, y Papistiaid, a'r Atheistiaid, a'r Hereticiaid. Yn ail yscuber allan yr holl rai afreolus, a drygionus eu buchedd, nid amgen, tyngwyr, meddwon, putteinwyr, cybyddion, twyllwyr, hoccedwyr, beilchion,

chion, gloddeſtwyr, chwaryddion, ar holl giwdod anghrefyddol honno.

Yn drydydd, neillduer, à didoler allan yr holl ragreithwyr, Proteſtwyr cnawdol, crefyddwyr ofer, gwrthlithr-wyr, gogwyddwyr, a Chriſtianogion llygoer. Tynner, meddaf y rhai hyn oll, ar neilldu, ac yno dywedwch i mi pa-ſawl vn yn gwaſanaethu Duw yn bur, yn ffyddlon, ac yn wir grefyddol, a geir yn ein plith? Yr wyfi yn tybied nad rhaid ini wrth gelfyddyd Rhifyddiaeth iw cyfrif hwynt.

Canys yr wyf yn meddwl na byddei nemmawr iawn ym mhòb pentref, trêf, a dinas: tybied yr wyf mai an-aml y byddynt yn rhodio'r heolydd, fel y gallei ddŷn yn hawdd eu rhifo wrth gerdded. Ein Harglwydd Jeſu ſy'n gofyn cweſtiwn yn Efengyl S. *Luc*: gan ddywedyd, *Màb y dŷn pan ddel, à gaiff efe ffydd ar y ddaiar? I'r hwn y gallwn atteb; diau ychydig iawn.* Luc. 18 8.

Aſune. *Bellach yn òl eich addewid, eglurwch y peth hyn drwy ſiamplau.*

*Theol.* Yn yr oes gyntaf or byd, pôb cnawd â lygraſai ei ffyrdd, fel na allai Dduw gyd-ddwyn yn hwy gyd ag hwynt, ond efe â ſwriadodd eu diſetha a diluw. Pan ddaeth y diluw, leied o nifer â gaed yn ffyddlon, ŵyth nŷn yn vnig â achubwyd yn yr Arch. Leied nifer o rai cyfiawn

a gafwyd yn *Sodom*, ar dinasoed cyfagos iddi? Un dynan truan *Lot*, ai deulu. Ni chaed yn *Jerico* ond vn credadyn, sef *Rahab*. Nid aeth i mewn i wlâd yr addewid o'r hên Israeliaid, ond dau yn vnig, sef *Caleb*, a *Josuah*. *Ni allei y lleill fyned i mewn o herwydd eu hanghredinaeth.* Heb. 3. 19.

Bechan oedd y wir eglwys anweledig yn amser llywodraeth y barnwyr, fel y gwelir yn amlwg yn y llyfr hwnnw. Yn amser *Elias* yr oedd yr eglwys mor fechan, ac na welid mo honi. Tan lywodraeth brenhinoedd Israel, a Juda, an-aml iawn oedd y gwir addolwyr, megis y mae yn amlwg wrth y prophwydi oll. Yn amser y gaethglud, yr oedd yr eglwys fel y lleuad tan gwmwl, wedi ei gyrru ir anialwch, ac yno yr oedd yn ymguddio. Yn amser erlid emerodraeth y Groegiaid, tan Gog, Magog, ar Aipht, yr oedd hi yn lleiaf or cwbl ei nifer. Yn amser Crist, leied oedd y gynnulleidfa y dechreuasei efe arni? Fel y llygrasid pôb peth gan yr offeiriaid, yr scrifennyddion, ar pharisaid? Pan ddechreuodd yr Apostolion bregethu nid oedd memmawr or bobl yn credu. Ynôl y chwechant mlynyddoedd cyntaf, pa lewygfa oedd ar yr eglwys? tra fu Angrist yn cael ei rwysc yn ddiwrthwyneb mor anaml yn y byd oedd y rhai â wa-

1 Brenh. 20. 27.

wasanaethent Dduw mewn gwirionedd, tros yspaid agos i seithgant o flynyddoedd? Ac er pan ddechreuwyd Pregethu'r Efengyl ar gyoedd, leied o bobl sy'n credu: ac fel y dywed y Prophwyd, *Arglwydd pwy a gredodd i'n hymadrodd?* Mal hyn chwi â welwch mai eglur yw (wrth yr Scrythur, wrth reswm, ac wrth esamplau yr holl oesoedd) mai ychydig iawn yw nifer yr etholedigion: ac darfyddo bwrw'r cwbl, ychydig ja sydd cadwedig.

Esay 53. 1.

*Phila.* Dywedwch i ni attolwg pa cyn lleied sydd ei rhifedi, ac o fewn pa derfyn y dygwch chwi hwynt? ai vn ym-mysc cant, ynteu vn o fil sydd cadwedig?

*Theol.* Ni ŵyr neb mo hynny. Ac ni fedraf finnau atteb hyn yn vnion, ac yn hyspys. Ond hyn â ddywedaf, mai ychydigion wrth eu cyffelybu ir gŵrthodedig, a sŷdd cadwedig.

Canys nid yw pawb or sawl â gyfaddefant yr Efengyl, or wir eglwys ger bron Duw. Y mae llawer yn yr Eglwys y rhai nid ydynt or eglwys.

*Phila.* Pa fodd y profwch chwi hynny?

*Theol.* Allan or nawfed at y Rhufeiniaid, lle y dywed yr Apostol; nid *Israel* pawb, ac sydd o *Israel.* A thrachefn: y mae Esaias yn llefain am yr *Israel: cyd byddei nifer meibion* Israel *fel tywod y mor,*

*mir, gwedill â achubir.* Rhuf. 9. 27.

*Phila.* Pa fodd yr ydych chwi yn bwrw y pethau hyn yn yr eglwys weledig, neu wrth ba gyffelybrwydd yr ydych yn eu cymmeryd; gedwch glywed ryw amcan. Rhai â dybiant mai vn o gant, eraill mai vn o fil â fydd cadwedig.

*Theol.* Yn wir myfi à glywais rai gwyr dyscedig, a Phregethwyr duwiol yn bwrw y fâth amcan. Eithr am y matter, ni fedraf ddywedyd dim: Ond yn vnig ystyriwn gyffelybiaeth yr yspryd glân rhwng gweddill, a thywod y môr, ac fe â rŷdd hyn beth goleuni ir achos.

*Phila.* Onid yw gwybodaeth or athrawiaeth hon yn peri i ddynion lwfrhau, a rhuso ymgais a Duw?

*Theol.* Nac ydyw. Ond yn hytrach hi â ddylei ein deffroi a'n cyffroi ni, i gymmeryd mwy gofal am ein iachawdwriaeth, fel y byddom o nifer praidd bychan Crist, *y rhai â orphennant eu iechydwriaeth drwy ofn a dychryn.* Philip. 2. 12.

*Phila.* Llawer â wnant gyfrif bychan or pethau hyn: eraill â ddywedant; Tu ag at y byd a ddaw, vn o'r pethau lleiaf yw i ofalu am dano. Nyni, meddant, a adawn hynny ar Dduw fel y rhyngo bodd iddo ef, nid ymmyrwn ni arno: Canys, meddant, Duw yr hwn a'n gwnaeth, achubed

efe ni. Goheithio' y maent allu ymdaro yn gyſtal ac eraill, a myned drwy'r ffrŵd mor droed-ſŷch, ac y diengo eu cymydogion.

*Theol.* Greſſyndod yw fod dynion mor ddifraw, ac yn gwneuthur mor yſcafn or peth ſydd (yn anad dim) fwyaf ei bwys, a defnydd-fawr. *Canys nid yw ddim lleſâd i ddŷn er ennill yr holl ſŷd, a cholli ei enaid, megis y tyſtia Athro pôb doethineb.* Mat. 16.26.

Aſune. *Attolwg Syr, rhoddwch gennad i minneu i ddywedyd fy meddwl yn y pwngc hwn. Nid wyf fi ond gŵr annwybodus: maddeuwch i mi, os dywedaf ar fai: Canys annoeth llithrig ei dafod.*

*Theol.* Dywedwch eich meddwl.

Aſune. *Yr wyf fi yn tybied yn ddiau, fod Duw yn drech na diafol. Ac am hynny ni allaſi goelio y gâd Duw ir cythraul gael mwy nac ef ei hun. Ni chymmer mo hynny ganddo. Canys y mae yn well ganddo ddŷn nag y dioddef hynny.*

*Theol.* Tybied yr ydych yn gnawdol, yr ymdrecha Duw, ac yr ymmeiſſ efe gwymp ar cythraul am y peth. Tu ag at am allu Duw, nid yw vn amſer yn erbyn ei ewyllys. Canys ni ddichon Duw wneuthur dim yngwrthwyneb iw ewyllys, ai drefnid, o herwydd na ſyn.

Aſune. *Ond y mae'r Scrythur yn dywedyd,*

*wedyd, y myn Duw fod pawb yn gadwedig.*

*Theol.* Nid ydys yn deall hynny am bob dyn yn neillduol, ond rhai o bob mâth; rhai Juddewon, rhai cenhedloedd, rhai cyfoethogion, rhai tlodion, rhai vchel-radd, rhai iſſel-radd, &c.

Aſune. *Criſt â fu farw tros bawb: am hynny pawb fydd cadwedig.*

*Theol.* Criſt a fu farw tros bawb o ran bod ei farwolaeth yn ddigonol, ond etto nid yw hi yn ffrwythlon i bawb, iw dwyn hwynt i fywyd. Oblegit yr etholedigion yn vnig â fydd cadwedig trwy ei farwolaeth ef, megis y mae yn ſcrifennedig:

*Hwn yw'r Teſtament newydd yn fyngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt trosoch:* gan ddeall ei ddiſcyblion a'i blant etholedig. Hefyd, Criſt wedi ei berffeithio â wnaethpwyd *yn awdur iechydwriaeth dragwyddol i'r rhai oll â vfyddhaunt iddo.* Heb. 5. 9. Luc. 22: 20.

Aſune. *Y mae Duw yn drugarog, ac am hynny gobeithio yr achub efe y rhan fwyaf, er mwyn ei drugaredd.*

*Theol.* Y rhan ſwyaf â fydd colledig, eithr y rhai oll ac a achubir, a achubir drwy ei drugaredd ef. Megis y mae yn ſcrifennedig, *Mi â drugarhâf wrth yr hwn y trugarhawyf: y neb y mynno y mae efe yn trugarhau wrtho, a'r neb y mynno y mae efe*

*efe yn ei galedu.* *Ac eilchwel ; nid o'r hwn ſydd yn ewyllyſio y mae, nac o'r hwn*
Rhuf. 9. *ſydd yn rhedeg chwaith, ond o Dduw yr*
18. *hwn ſydd yn trugarhau.* Am hynny er bod Duw yn anfeidrol ei drugaredd, a Chriſt yn anfeidrol ei haeddedigaeth, etto ni chaiff neb drugaredd, ond lleſtri trugaredd yn vnig.

*Antile.* A wyddoch chwi pwy â ſydd cadwedig? A phwy yn golledig? â wyddoch chwi gyfrinach Duw? Pa brŷd y buoch chwi yn y nefoedd? Pa bryd y buoch chwi yn ymddiddan a Duw? Yr wyf fi yn meddwl y bydd pawb yn gadwedig: Canys y mae trugaredd Dduw tu hwynt iw holl weithredoedd, ac yn helaethach na hwynt oll. Dywedwch chwi yr hyn â ſynnoch, a pha beth bynnag â alloch: ni wnaeth Duw ni i'n condemnio.

*Theol.* Yr ydych chwi yn hyderus yn ſiccr, ac yn fwy eich hyfder, na'ch ſynwyr: Canys *Criſt* a ddywed, *ychydig fydd cadwedig*, chwithau a ddywedwch, pawb a fydd cadwedig. Pa vn gan hynny a gredwn, ai Criſt, ai chwy-chwi?

*Antile.* Pe rhôn â dyfod dau enaid, vn o'r nef, a'r llall o vffern i ddwyn i ni gopinod hyſpys, pa fodd y mae'r peth yn ſefyll, yna mi ai credwn yn ddiammeu.

*Theol.* Pe digwyddai ddyfod dau enaid oddiwrth y meirw, vn o'r nef, a'r llall o

vffern:

vffern: myfi â fedraf ym mlaen-llaw ddywedyd i chwi yn hyfpys, pa beth â ddywedent, ac pa gopinod, a newyddion a ddywedent.

*Antile.* Pa beth adolwyn.

*Theol.* Hwynt hwy â ddywedent, fod ychydig yn y nefoedd, a llawer yn vffern: fod y nefoedd yn wâg, ac vffern yn llawn.

*Antil.* Pa fodd y gwyddoch chwi hynny? pa fodd y gwyddoch chwi y dywedent felly?

*Theol.* Y mae yn ddiogel gennif, os dywedent y gwirionedd, mai rhaid oedd iddynt ddywedyd hynny?

*Antil.* Ai rhaid? pa ham, adolwyn, y mae yn rhaid iddynt?

*Theol.* Am fod gair Duw yn dywedyd felly: am fod *Moses* ar Prophwydi yn dywedyd felly. Oni chredwch chwi *Moses* ar prophwydi ni chredwch chwaith pe bai vn, be bai ddau, pe bai gant yn dyfod oddiwrth y meirw.

*Antil.* Ond myfi â gredwn.

*Theol.* Attolwg, gadewch i mi ofyn i chwi vn peth: Pa vn i'ch tŷb chwi, y dylid rhoddi mwy coel ai no, Duw ai air, ynteu eneidieu y meirw?

*Antil.* Pe gwyddwn yn ddigon hyfpys ddywedyd o Dduw felly: yna myfi ai credwn.

O *Theol.*

*Theol.* Os dywed ei air ef felly, onid efe sy'n dywedyd felly? Onid yr vn yw efe ai air?

*Antil.* Etto er hyn ei gyd, pe cawn glywed Dduw ei hûn yn dywedyd hynny, fe â gynhyrfei hynny lawer arnaf.

*Theol.* Yr ydych chwi yn eich dangos eich hûn yn anghredadyn hynod. Ni chredwch air Duw heb arwyddion, a rhyfeddodau, a gwrthiau oddiwrth y meirw.

*Antil.* Yr ydych chwi yn siarad megis pe gwyddech yn hyspys fod vffern yn llawn. Nid ŷch ond siarad ar eich amcan: ni wyddoch ddim, ni buoch erioed yno yn gweled. Ond o'm rhan fy hûn yr wyf fi yn credu nad oes yr vn vffern, ond yn vnig vffern cydwybod dyn.

*Theol.* Yr awr-hon yr ydych yn ymddangos yn eglur wrth eich lliw a'ch arwydd. Ni chredwch (meddwch chwi) fod yr vn vffern. Ac yr wyf yn meddwl, pe holid chwi yn fanwl, na chredwch chwaith fod yr vn nef, na Duw, na diafol.

*Antil.* Nagê, mi a gredaf fod nefoedd, oblegit mi ai gwelaf hi am llygaid.

*Theol.* Y mae yn dybygol na chredwch chwi ddim ond â weloch: *Eithr bendigedig yw'r hwn â gredo, ac ni wel.* Yr ydych
Jo.20.29 chwi yn vn or rhai an-nuw dygnaf y bûm
Atheist dyn-di-dduw. mi erioed yn ymddiddan ag ef.

*Antil.*

*Antil.* Ni ddylych chwi farnu. Ni wyddoch chwi galonnau dynion.

*Theol. O gyflawnder y galon y llefara y genau.* Chwi à ddangosasoch eich calon yn ddigon eglur, wrth eich geiriau. Canys agoriad y meddwl yw'r tafod. Ac am farnu, wrth eich ffrwyth yn vnig yr wyf fi yn eich barnu, yr hyn beth sydd gyfreithlawn. Oblegit nyni â allwn yn hydda ddywedyd, mai drŵg yw 'r pren â ddygo ffrwyth drŵg, a'r neb â wnel ddrygioni sydd ddyn drygionus. Eithr chwychwi, a'ch cyffelyb chwithau ydych yn cymmeryd arnoch farnu calonnau dynion.

Canys er bod gweithredoedd dŷn oddiallan yn grefyddol, ac yn ônest, etto chwi a'i heuog-farnwch ef. Ac o bydd dyn yn ymroi i air Duw, ac i weddio, i ddiwygio ei deulu, ac i ymgadw rhag y pechodau dygnaf yn y byd, chwychwi yn y fân, a ddywedwch mai rhagrithwr yw. Ac mal hyn yr ydych chwi yn cymmeryd arnoch farnu calonnau dynion, megis pe baech yn gwybod, ar ba galondid, a meddylfryd y gwneir y pethau hyn.

*Antil.* Cyfaddef yr wyf fy môd yn bechadur, ac felly y mae pawb eraill, am â wn i. Nid oes neb nad oes iddo ddigon o le i wellhau. Mi â archaf i Dduw roddi i ni oll gyfran o'i râs, fel y gallom ei fodloni

Ioni ef, a myned i'r Nefoedd ar y diwedd.

*Theol.* Chwi â fynnech drwy gydgymmyfcu pawb a'i gilydd, gael eich gadael eich hûn yn gyftal ar goreu. Megis pe na bai rhagor rhwng y naill bechadur, ar llall:

Ond y mae yn rhaid i chwi ddyfcu adnabod, fod rhagoriaeth mawr rhwng pechaduriaid.

Oblegit y mae pechadur edifarus, a diedifarus: Y pechadur gofalus, a'r diofal: Y pechadur yr hwn ni chyfrifir iddo bechod, ar hwn y cyfrifir iddo bechod: Y pechadur â fydd cadwedig, a'r hwn â gondemnir. Oblegit vn peth yw pechod o wendid, a pheth arall yw byw, a thrigo ynddo, a gwneuthur celfyddyd o honaw: Ac (fel y dywed yr Yfpryd glân) ei ŷled fel yr ŷf y pyfcod ddwfr, *a'i dynnu â rheffynnau oferedd, ac megis â rhaffau menn:* Efay 5. 18.

I fyrrhau, y mae cymmaint rhagor rhwng pechadur a phechadur, ac fy rhwng goleuni a thywyllwch.

Canys er bod plant Duw yn bechaduriaid, o herwydd gweddillion pechod yn aros ynddynt, etto yr Scrythyrau a'u geilw hwynt yn gyfiawn, ac yn vnion, oblegit eu bod wedi eu cyfiawnhau trwy Grift, a'u fancteiddio drwy ei râs ef, ai Yfpryd Glân. Ac o herwydd hyn y dywed St

Ioan

*Joan.* *Yr hwn á aned o Dduw, ni phecha.*
1 Joan 4. 6.

*Antil.* Pa beth, adolwyn, â bechasoch chwi erioed?

*Theol.* Dô, â pheth am hynny? beth ydych chwi nês?

*Antil.* Chwychwi y Pregeth-wyr ni fedrwch gyttuno yn eich plîth eich hunain. Ynaill sy'n dywedyd vn peth, ar llall, á ddywed beth arall. Ac felly yr ydych yn pendafadu y bobl annyscedig, fel na wyddant wrth ba blaid y glynant.

*Theol.* Y Pregethwyr, i Dduw bo'r diolch, a gytrunânt a'i gilydd or goreu, yn holl brifbyngciau crefydd, a sylfein iechydwriaeth: eithr os anghyttunant mewn rhyw achosion eraill, chwychwi â ddylech brofi yr ysprydion, á ydynt o Dduw. Rhaid i chwi brofi pob peth, a chadw'r hyn sydd dda.

*Antil.* Pa fodd y dichon dynion gwirion, anwybodus brofi ysprydion, ac addysc y Pregeth-wyr?

*Theol.* Gallant. Oblegit yr Apostol â ddywed: *Y dyn ysprydol sy'n dirnad (neu yn barnu) pob peth.* A Sant *Joan* â ddywed: *Ond y mae yr eneiniad a dderbyniasoch ganddo ef yn aros ynoch chwi, ac chwi a wyddoch bob peth.* Sef bob peth angenrheidiol i iechydwriaeth. Gan hynny y rhai sy ganddynt Y spryd Duw a fedrant

1 Cor. 2. 15.

1 Joan 2. 20.

farnu, a dirnad athrawiaethau, â ydynt o Dduw, ai nid ydynt.

*Antil.* Nid wyfi lythyrennog, am hynny ni fedraf fi farnu am yr achosion hynny. Ac am wrando Pregethau nid wyf yn cael ennyd i redegan iddynt. Y mae gennif rywbeth arall iw wneuthur. Y rhai sy'n medru darllain ar lyfrau, ac yn gwrando cymmaint o bregethau, barnant hwy am yr achosion hyn. Ni bydd i mi â wnelwyf â hwynt; ni perthynant i mi.

*Theol.* Etto er hyn ei gyd chwi â ddylech ddarllain yr Scrythyrau, a gwrando Pregethu gair Duw, er mwyn gallu o honoch farnu rhwng gwirionedd, a ffalsedd mewn achosion Cresydd.

*Antil.* Y mae yn debig eich bod yn tybied nas gall neb fod yn gadwedig heb Pregethu, a bod pawb yn rhwymedig i gynniwair at bregethau, eithr nid wyfi o'ch meddwl chwi yn hynny.

*Theol.* Ein Harglwydd Jesu â ddywed. *Fy nefaid i a edwyn fy lleferydd:* A thrachefn y dywed. *Yr hwn sydd o Dduw â wrendu eiriau Duw, am hynny ni wrandewch chwi, am nad ydych o Dduw.* Felly chwi â welwch pa fodd y mae Crist Jesu yn gwneuthur hynny yn arwydd hynod o blentyn i Dduw, sef gwrando Pregethu ei air. *Joan.* 10.16. ac 8.47.

*Antil.*

*Antil.* Ond yr wyfi yn tybied y gellir gwaſanaethu Duw yn dda ddigon heb Pregethwr. Oblegit beth yw'r Pregethwyr ond dynion. A pha beth â allan hwy? Gwr da yw Pregethwr tra ſyddo yn y pulpyt, ond os bydd allan o'r pulpit nid yw efe ond fel gŵr arall.

*Theol.* Trahâus yr ydych yn dywedyd am gennadon Duw, ac am Sanctaidd ordinhad Duw, eithr y maê'r Apoſtol yn atteb hyd adref ich dadleuon chwi, gan ddywedyd. *Ffydd ſydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw: A pha fodd y clywant heb Pregethwr.* Yn yr hyn eriau y mae'r Apoſtol yn dywedyd yn eglur, na ellwch byth gael ffydd, na gwaſanaethu Duw yn vnion heb Pregethu. Rhuf. 10. 17.

*Antil.* Darfyddo i chwi bregethu eich eithaf, ni ellwch wneuthur gair Duw ddim gwell nac ydyw: A rhai ydynt yn chwanegu atto, ac yn tynnu oddiwrtho yr hyn â fynnont. Nid yw'r Scrythyrau ond dychymmygion dynion: a dynion â wnaethant yr Scrythyrau.

*Theol.* Pregethu ir ydym, nid i wneuthur y gair yn well, ond i'ch gwneuthur chwi yn well. Ac am chwanegu atto, a thynnu oddiwrtho, nid yw hynny ond anwir dybryd. Ac lle yr ydych yn dywedyd mai dynion â wnaethant yr Scrythyrau, cabledd yw vnwaith meddwl hynny, ac yr

ŷch yn deilwng o gael eich atteb wrth * Tibwrn.

*Neu wrth y crogbren.

*Antil.* Mi â welaf yn awr, eich bod yn frwd; yr wyf yn deall, er eich duwioled, y medrwch fod yn a dân-baid.

a Siomgar.

*Theol.* Nid wyfi yn tybied fod yn bechod ddigio yn erbyn pechod, canys eich pechod chwi sydd anguriol, a phwy â all ei oddef.

*Antil.* Ar hyd yr amser yr ydych yn dadleu ynghweryl Pregethu: eithr nid ydych yn yngan vnwaith am weddio: yr wyfi yn meddwl fod cyn rheitied gweddio, â phregethu. Canys yr wyf yn cael yn yr Scrythyrau: Gweddiwch yn ddibaid: ond nid wyf yn cael yno, Pregethwch yn ddibaid.

*Theol.* Nid yw neb yn gwadu, nad yw gweddio yn dra-angenrheidiol, ac iw gyssylltu at bregethu, ac at bob ymarfer arall ar dduwioldeb: Canys gweddio yw'r llawforwyn i'r cwbl. Ond etto mwy cyfrif â wnawn o bregethu, oblegit ei fod yn cyfarwyddo, ac yn cymmell i weddio: ie Pregethu sydd yn dadebru, ac yn gosod dyn ar yr iawn ffordd ym mhob gweithred, a gwasanaeth ysprydol, hebddo ni allwn ni gadw dim iawn drefn yn ddi-draill, ond bod yn hylithr beunydd i b ystlysu ar ddidro, ac i gyfeiliorni ar y naill law, neu ar y llall.

b Logwyddo.

Ac

Ac lle yr ydych yn dywedyd eich bod yn cael, *Gweddiwch yn ddibaid*; chwi â allech (oni bai eich bod yn ddall o'r waith oddef) gael hefyd, Pregethwch yn ddibaid.

Oblegit yr Apostol a ddywed wrth *Timothi: Bydd daer: Pregetha'r gair mewn amser, ac allan o amser.* Hynny yw bob amser, fel y bo'r amser, ac achlysur yn gwasanaethu. 2. Tim. 4. 2.

*Antil.* Canmol Pregethu yr ydych: ond nid ŷch yn yngan am ddarllain, yr wyf yn meddwl eich bod yn condemnio darllain.

*Theol.* Yr hwn sydd yn rhoddi mawrglod i aur, a ywhwnnw yn anghanmol arian? Yr wyfi yn cyfaddeu yn hyrwydd fod darllain gair Duw, yn y dirgel, ac yn y goleu, yn neillduol, ac yn gyhoeddus, yn beth angenrheidiol, a buddiol; ac mi â ddamunwn ar Dduw pe baid yn ei ddarllain yn fynnychach nac yr ydys.

Canys hynny â fyddei lessol iawn i chwanegu gwybodaeth, a deall, ac â wnai ddynion hefyd yn gymhwysach i wrando Pregethu'r gair. Oblegit ni all y rhai ydynt lwyr anghydnabyddus ag ystori, ac ysgrythyraeth y beibl gasclu wrth wrando nemmawr gyssur oddiwrtho.

*Phila.* Cyffelybus yw nad yw'r gwŷr yma yn gwneuthur fawr gyfrif o'r naill, nac or llall, nac o bregethu, nac o ddar-

llain. Oblegit am â welaf fi, ni byddei arno ronyn cyffro pe bai'r Scrythyrau wedi eu llosci yn vlw.

*Antil.* Oh Syr, chwerw-ddwys yw'r geiriau yna: Siaredwch pan i'ch cymheller. Pwy a'ch gwnaeth chwi yn farnwr? Vn o'i ddiscyblion ef ydych; a hynny â wna i chwi ddadleu yn ei blaid.

*Phila.* Nagê Syr: gobeithio fy mod yn ddiscybl i Grist, ac nid i ddŷn. Ond yn wir ni allaf ymattal wrth glywed eich coeg ymgeccreth, a'ch cabl-eiriau.

*Antil.* Eich nawdd, attolwg Syr: Tebygol mai vn o'r Scrythyr-wyr ydych: yr ydych chwi or Yspryd: ac mor llawn o honaw, hyd onid yw yn rhedeg allan ich ffroenau.

*Phila.* Yr ŷch chwi yn dangos yn eglur pa fath ydych, nid amgen gwatworwr ffroenwawdus, fel Ismael gynt.

*Antil.* A chwithau yn eich dangos eich hûn yn vn or bobl dduwiol hynny, a adwaenant eu heistedd-leoedd yn y nef.

*Phila.* Mi â attolygaf i Dduw fod yn drugarog wrthych, á rhoddi i chwi galon well: Canys mi a'ch gwelaf mewn bustl chwerwedd, ac mewn rhwymedigaeth anwiredd.

*Antil.* Tybied yr ydych chwi, nad oes vn-dyn da, ond eich cyffelyb chwi, a'r cyfryw ac á ddilynant eich helynt; chwi â

syn-

synnwch, os da gan Dduw, fod ei gyd yn bur: Ond myn Duw, y mae o honoch fagad o gymdeithion pur gnafaidd.

*Theol.* Nagê, yn awr y mae yn amlwg o ba Yspryd yr ydych; canys tyngu, a difenwi â wnaethoch ar vn anadl.

*Antil.* Duw â faddeuo i mi: Pa ham y parodd i mi ddigio? Y mae bagad yn y byd or sâth gostwy-wyr ac ynteu, na chaiff neb lonydwch ganddynt.

*Theol.* Mi á welaf mai * ychydig a'ch digia chwi, gan eich bod yn digio wrtho am ddywedyd y gwirionedd.

* Ne hawdd yw eich digio.

*Antil.* Pa beth sydd iddo ef â wnêl a mysi: y mae efe yn bryssurach nac y byddei raid iddo. Paham y dywed fy mód i mewn cyflur drwg? Ni ddeuaf atto ef i ddyscu beth á ddylwn ei wneuthur. Od oes arnaf feiau, ni cheisiaf ganddo ef atteb trostynt. Mysi á attebaf tros fy meiau fy hûn, â safed pob llestr ar ei waelod ei hûn: ac aed ynteu i ymgymmyrredd ai bethau ei hûn.

*Theol.* Yr ydych chwi yn rhŷ anoddefus: ac yn cymmeryd pethau ar y gwaethaf: ein dylêd ni yw rhybuddio, a chynghori eu gilydd yn fwynaidd, ac yn garedig: Canys rhaid i ni ofalu am iachawdwriaeth eu gilydd. Mi á allaf ddywedyd yn hŷf trosto ef, mai o gariad ac o dostturi tu ag attoch y mae efe yn llefaru.

*Antil.*

*Antil.* Nid gwaeth gennifi am ei gariad ef: cadwed ei gariad iddo ei hûn, pa beth y mae efe yn ei dybied am danaf ? ydyw efe yn meddwl nad oes gennifi enaid iw gadw yn gyſtal ag yntef ? Neu nad oes arnaf ddim gofal am fy iechydwriaeth ? Mi â ſynnwyn pes gwypei fy mod i yn gofalu am fy enaid yn gyſtal ag yntef, er nad wyf yn gymmaint fy rhodres i ddangos golwg têg oddiallan. Oblegit nid aur yw pob peth a ddiſcleirio. Y mae gennif gyſtal meddwl ag yntef, er na fedrwyf ei dreuthu allan.

*Theol.* Hawdd y gellid hepcor y geiriau hyn. Gobeithio y llarieiddiwch ac y gwellhewch eich buchedd, ac y neſſewch at Dduw o hyn allan.

*Antil.* Yn wir Syr, chwi â ellwch dybied o honof fel y gweloch yn dda: Ond bydded hyſpys i chwi, fod arnaf fwy gofal am fy enaid nag y gŵyr y byd. I Dduw yr wyf yn diolch amdano, yr wyf yn dywedyd fyngweddi bob nôs hwyn gyntaf yr elwyf i'm gwely.

Ac oni wna gweddiau da i ni ddim daioni, Duw a'n helpio. Mi â waſanaethais Dduw erioed yn vnion, ac yn gywir, ac ai cedwais yn fy meddwl. Yr wyf yn gwneuthur i eraill fel y mynnwn wneuthur i minneu: Yr wyf yn cyrchu i'm heglwys, ac yn ddiwyd mewn gweddi tra fyddwyf yno. A gobeithio nad wyf cynddrwg ac y

mynnei

mynnei y gwr-da yma fyngwneuthur ; a diogel gennif os ydwyf ddrŵg nad myfi yw'r gwaethaf, y mae rhai cyn-ddrwg a minneu : os i vffern yr âf ; y mae i mi gyfeillion ddigon, ac mi â ymdarawaf yn gystal a rhai o honynt hwythau.

*Theol.* Tybied yr ydych fod eich ymadrodd yn ddoeth. Ond nid wyfi yn gweled fod eich atteb yn dda: Oblegit y mae ar eich geiriau ryw arwynt cryf o anwybodaeth, balchder, ac anghredinaeth. Canys yr ŷch yn eich cyfiawnhau eich hûn yn eich gwasanaeth i Dduw, heb na ffydd, na gwybodaeth. Ac yn ail, drwy ymgyffelybu ag eraill, y rhai, meddwch chwi, ydynt cynddrwg â chwithau, ac nad chwychwi yw'r gwaethaf yn y byd.

*Antil.* Gwn yr awr-hon mai o ddrŵg ewyllys yr ydych yn llefaru : Canys ni thybiasoch erioed yn dda o honof.

*Theol.* Mi â ewyllysiwn fod i mi achos i dybied o honoch yn gystal ac y dymunwn ; a chael o honof weled y cyfryw waith ysprydol wedi ei weithio ynoch, ac a ynnillei fyngharíad i, am bodlonrhwydd tu ag attoch.

Ac am ddrwg ewyllys, fe â ŵyr Duw nad oes gennifi ddim tu ag attoch: Ewyllysio yr wyf eich edifeirwch, a'ch iechydwriaeth, a hynny am holl galon. Ac mi â dybiwn fy mod yn ddedwydd, pe galiwn

achub

achub eich enaid, ie â cholled fy mraich dehau fy hûn.

*Antil.* Gobeithio y gallaf edifarhau; canys fe ddywaid yr Scrythur, pa prŷd bynnag yr edifarhao pechadur, y maddeu Duw iddo: Am hynny os gallaf gael hamdden, a grâs, ac amser i gymmeryd edifeirwch cyn fy marw, ac i ofyn i Dduw faddeuant, ac i ddywedyd fyngweddiau, ac i lefain ar Dduw am drugaredd, gobeithio yr wyf y bydd digon da fy helynt.

*Theol.* Dywedyd yr ydych megis pe bai edifeirwch yn eich meddiant eich hûn, ac wrth eich gorchymyn: ac fel pe medrech ei ddwyn i'ch calon pan fynnech: A hyn â wna i chwi, ac i lawer eraill, ryfygu o honaw deir-awr cyn marw. Eithr rhaid i chwi wybod mai rhagorol rôdd Duw yw edifeirwch; ac nas rhoddir ond i rai. Canys fe fyn Duw adnabod yn hyspys y neb y rhoddo efe edifeirwch iddo, gan mai priodol ydyw ir etholedigion yn vnig. Nid peth yn sefyll ar eiriau; ac ni cheir mo honaw heb lawer o weddiau taer difrifol, a llawer o wrândo, a darllain, a myfyrio ar air Duw. Nid cyn hawsed dyfod iddo, ac y tybia 'r byd. Ni chaifl neb afael arno ond ai ceisio yn ddyfal, ac ai gofynno yn daer: Nid achos cyffredin ydyw iw drîn tros

dei-

deirawr. Llefain ar Dduw am drugaredd tros ychydig, i fwrw cêl tros gyffion fel *Ahab*, ni wna ddim llesâd.

Maldar ar frŷs tros fwrn o weddiau ychydig cyn marw, ni thyccia. Oblegit er nad yw gwir edifeirwch ryhwyr vn amser, etto hwyr a diweddar edifeirwch fydd yn anfynych yn wir.

Yn hyn o beth, enbaid yw pob oed. Canys pa hwyaf yr oeder, waethwaeth yw ein cyflwr. Pa bellaf y tarawer yr hoel a morthwyl, anhawsaf fydd ei thynnu allan yn ei hôl. Pa hwyaf y gadawer i'r afiechyd gerdded yn y corph, anhawsaf fydd ei feddiginiaethu. Pa ddyfnaf y gwreiddio y pren, anhawsaf yw ei ddadwreiddio: A pha hwyaf yr oeder amser edifeirwch, anhawsaf fydd edifarhau: ac am hynny, peth peryglus yw oedi hyd yr eithaf.

Canys medd vn o'r hên dadau gynt, *Nid ydym yn darllain ond am vn â edifarhaodd ar y diwedd, rhag i neb ryfygu: ac etto am vn rhag i neb anobeithio*. Avstin.

Gan hynny, i ddibennu y pwngc yma, mi â fynnwn i chwi wybod, mai yr amser presennol yw amser yr edifeîrwch.

Oblegit yr amser á aeth heibio ni ellir ei gael eilwaith; a'r amser i ddyfod fydd ansiccr.

*Antil.*

*Antil.* Syr, i'm tŷb i chwychwi â adroddasoch ryw bethau tra peryglus, ar cyfryw, ac â fyddei ddigon i beri i ddyn anobeithio.

*Theol.* Beth yw'r rheini, adolwyn?

*Antil.* Y mae o honynt lawer. Ond vn peth yn anad dim sy'n swrn ar fynghalon, nid amgen, leied nifer â sydd cadwedig sel y dywedwch. Eithr anhawdd yw genif goelio wneuthur o Dduw gynnifer o filoedd, iw bwrw yn golledig wedi darfod iddo. A ydych chwi yn tybied i Dduw ein gwneuthur i'n condemnio? A wnewch chwi ef yn awdur damnedigaeth.

*Theol.* Na wnaf ddim. Oblegit nid Duw yw achos damnedigaeth dynion, ond hwynthwy eu hunain. Colledigaeth pob dyn sydd oddiwrtho ei hûn. Megis y

Hos. 13.9. mae yn scrifennedig: ô *Israel tydi a'th ddinistriaist dy hûn.* Ac am Dduw, cymmeryd ac arfer y mae efe (mewn mawr drugaredd) pob moddion possibl i achub eneidiau. Megis y dywaid drwy'r Pro-

Esay 5.4. phwyd: *Beth oedd iw wneuthur ychwaneg i'm gwinllan, nac â wneuthum ynddi?* Ond i ddyfod yn nês at y cwestiwn.

Gwadu yr wyf ddarfod i Dduw wneuthur y rhan fwyaf o ddynion yn vnig, ac yn benffettur i golledigaeth, megis y diben priodol yr oedd efe yn cyfeirio atto, wrth ei gwneuthur hwynt: Eithr efe â

greawdd

greawdd bob peth er mawl ei egoniant ei hûn, fel y mae yn scrifennedig: *Yr Arglwydd â wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun, ar annuwiol hefyd erbyn y dydd drwg.* Dihar. 16. 4.

Wrth hynny y mae yn canlyn mai yr achos, ar pennod o herwydd pa vn y creawdd Dduw y drygionus, nid oedd, ac nid yw yn vnig er mwyn dinistrio ei greadur, ond er mwyn ei fawl, ai ogoniant ei hun, fel y gallei hwnnw yn vnig, sef ei anrhydedd ef ymddangos, ac ymegluro yn ei holl weithredoedd. Er hynny diammeu ydyw, ddarfod i Dduw o herwydd rhyw achosion cyfiawn (er bod y rheini yn guddiedig i ni) wrthod nifer mawr o ddynion: Yr achosion, meddaf, y gwrthododd Duw rai, ydynt yn guddiedig yn nhragwyddol gyngor Duw, ac yn hyspys iw dduwiol ddoethineb ef yn vnig. Dirgel ydynt, a chuddiedig oddiwrthym ni, ac wedi eu rhoddi i gadw yn ei dragwyddol ddoethineb ef, iw datcuddio yngogoneddus ymddangosiad ein Harglwydd Jesu. *Dyfnder mawr yw ei farnedigaethau, ai ffyrdd ef ydynt anolrheinadwy.* Cyn * bosibled i ni allu cynwys y môr mawr mewn phiol fechan â gallu dirnad rhefwm cyngor Duw, yn yr achosion hyn.

Psal. 36. 6. Rhuf. 11. 33.

* *Cyn dyhyced.*

Antil.

*Antil.* Pa reſwm, pa gyfiawnder, pa vniondeb yw rhoddi barn marwolaeth yn erbyn dynion cyn eu geni, a chyn iddynt wneuthur na da, na drwg ?

*Theol.* Mi a ddywedais i chwi or blaen, na allwn ni byth gyrhaeddyd dirnad rheſwm Duw yn y gorchwyl hwn. Gwybod ſydd raid i ni, mai ei ewyllys ef yw rheol pob cyfiawnder, ac mai yr ewyllys hwn ſy raid iddo ſefyll i ni, yn lle mil o reſymmau. Oblegit pa beth bynnag â ewyllyſio Duw, â ddylid ei gyfrif yn gyfiawn, am iddo ef ei ewyllyſio. Ni fedrwn ni ddirnad rheſwm llawer peth naturiol, â phethau o fewn ein golwg, megis ſymmudiad y cyrph nefol, eu cyflymdra annealladwy, eu defnydd, a'u ſylwedd, eu maintioli, eu huchder, a'u llêd. Ni fedrwn ni gael allan yn hyſpys, achoſion y taranau, y mêllt, y gwyntoedd, y diargrynfau, y trai, a'r llanw yn y môr, a llawer o bethau eraill tan yr haul: pa fodd gan hynny y byddei boſſibl i ni allu dringo i ddirgelfa cynghordŷ Duw, i chwilio allan ddyfnderoedd ei ddirgelion ef, y rhai ni ddichon ſynwyr, a deall dyn mewn modd yn y byd, eu cyrhaeddyd. Dyſcwn gan hynny yn ofn Duw, fawrygu y peth ni allwn yn y bywyd yma ei ymgyffred. Yr vn peth hyn ſydd yn rhaid i mi ei ddywedyd wrthych.

Beth

Beth bynnag â ordeiniodd Duw, etto nid yw efe yn rhoddi neb i ddioddef amdano, nes iddo ddeng-mîl o weithiau, ei haeddu: Canys rhwng yr ordinhâd ar cyflawniad, y daw pechod ynom ni, yn achos gwir gyfiawn o ddamnedigaeth.

*Antil.* Os ordinhâd Duw yw colledigaeth dynion, beth â allant hwy wrth hynny? Pwy â ddichon wrth-sefyll ei ewyllys ef? A phaham y digia efe wrthym? Oblegit rhaid yw digwyddo pob peth yn ôl ei ordinhâd ef, a'i drefnid

*Theol.* Yn gyntaf, atteb yr wyf gyd a'r Apostol. *Pwy wyt ti, yr hwn â ddadleui yn erbyn Duw? A ddywed y peth ffurfiedig wrth yr hwn ai ffurfiodd, paham i'm gwnaethost fel hyn? Onid oes awdurdod i'r crochenydd ar y priddgist, i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i ammarch?* Heb law hyn, atteb yr wyf, nad yw ordeinhâd Duw yn * traisgymmell ewyllys dyn o'i anfodd: ond yr ewyllys sy'n gweithio, ac yn ymgynhyrfu o honaw ei hûn.

Rhuf. 9. 20.

* *Yn dirio ar.*

Ac y mae ganddo ynddo ei hûn achos dechreuol pob drŵg-gynnwrf, ac â becha yn ewyllysgar. O herwydd hyn, er bod ordinhâd Duw yn gosod angenrhaid ar bob ail-achosion (yn gymmaint â bod yn rhaid eu ffurfio, au cymmwyso wrth hwnnw) etto nid yw yn dirio, ac yn

peri:

peri: Canys hwynt hwy oll (sef yr ail-achosion) â gynhyrfir, ac â ânt rhagddynt, wrth bwys eu hewyllysgar symmudiadau eu hunain.

Megis y gwelwn mewn clocc, y pwysau, y rhai sy'n symmud gyntaf, a barant i'r holl rodau eraill symmud, * a cherdded: ond nid symmud, neu droi yma, ac accw: oblegit yn gymmaint a'u bod yn ymsymmud, rhai y naill ffordd, ac eraill ffordd arall, hynny a ddigwydda oddiwrthynt eu hunain: sef eu ffurfiad a'u gwneuthurdeb eu hunain: Felly ordinhâd Duw sy'n cynhyrfu pôb ail-achosion, ond nid yn tynnu ymmaith eu cynnwrf priodol hwy eu hunain. Oblegit Duw yw awdur pob gweithred, eithr nid yw efe awdur y drwg sydd yn y weithred. Megis mai enaid dyn yw achos dechreuol o bôb cynnwrf mewn dyn fel y mae'r Philosophyddion yn ymresymmu, ond nid or clofni, neu'r gwendid sydd yn y cynnwrf: Canys hynny sydd oddiwrth achos arall, nid amgen, rhyw ddiffyg neu wendid yn y corph: Felly, meddaf, ordinhâd Duw yw 'r gwreiddin, a'r achos cyntaf o gynnwrf, ond nid o ddiffyg y cynnwrf, hwnnw sydd o honom ni.

* A'u gosodant ar gerdded i droi.

Hefyd fod clôch yn seinio, yr achos sydd yn yr hwn ai cano: ond o fod y glôch

yn

yn anghyssain neu yn ddrygsain, yr achos sydd ynddi ei hûn. Drachefn fod offeryn cerdd yn rhoddi sain, yr achos sydd yn y Cerddor: Ond ei anghywir-sain sydd o honaw ei hûn, eisieu bod yn gywair. Felly i ddibennu y pwngc yma: pob cyfryngau, ac achosion cannolig â gynhyrfir gan Dduw, yr hwn yw y prif-gynhyrfudd yn y cyfryw fodd, ai fod efe yn gwneuthur yn dda, yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, bob amser yn ei gynnwrf.

Eithr y cyfryngau, neu 'r peiriannau y rhai â gynhyrfir, a dynnir i symmudiadau gwrthwyneb, yn ôl eu naturiaeth briodol, a'u ffurf eu hunain. Os da a fyddant, hwy â dynnant at yr hyn fyddo da: ond os drŵg fyddant, tynnu, a gogwyddo a wnânt at y peth â fyddo drwg. Yn gymmaint ac yn ôl deu-ryw ddechreuad cynnwrf, ac ewyllys dyn, y mae deublyg, ac ymrafael waith, ac effaith yn goferu, ac yn dyfod oddiwrtho.

*Antil.* Ond o ba le y mae yn digwyddo fod dyn, o honaw ei hûn, sef oi rwydd gynnwrf, ai athrylith ei hün, yn ewyllysio yr hyn sy ddrŵg?

*Theol.* Oddiwrth gwymp Adda, drwy'r hwn y llygrwyd ei ewyllys ef.

*Antil.* Beth oedd yr achos o gwymp Adda?

*Theol.* Y Cythraul, a *cham-arfer ei ewyllys ei hûn.

* *Llygriad. neu halogiad. difwyniad, Drwg-driniad.*

*Antil.* Pa fodd y gallai ei ewyllys ef ogwyddo at ddrŵg gan ei wneuthur yn dda, ac yntef ei hûn hefyd wedi ei wneuthur yn dda?

*Theol.* Efe, ai ewyllys â wneuthid yn dda, ond yn dda gyfnewidiol: Canys bod yn dda yn anghyfnewidiol, fydd beth priodol i Dduw yn vnig. Ac Adda oedd yn fefyll yn y cyfryw gyflwr, ac y gallai fyrthio fel y dengys y digwydd.

*Antil.* Onid oedd ordinhâd Duw yn achos o gwymp Adda?

*Theol.* Nac oedd: eithr hyrwydd dueddfad ei ewyllys ef i ddrŵg. Oblegit nid cymmell ewyllys Adda a wnaed oi anfodd, drwy ddir orfod, neu drais arfaeth Duw, i gydfynnio â drŵg: eithr efe oi hyrwydd ewyllys, a pharodrwydd meddwl, â wrthododd Dduw, ac â gydfynniodd a'r Cythraul.

Gan hynny, mal hyn y dibennaf; o ran yr ordinhâd, neu 'r digwydd, Adda â bechodd o angenrhaid; ac ni allai amgen: ond o ran y prif-gynhyrfudd, a'r achos oddi mewn, yr hwn oedd ei ewyllys ei hûn, yna o'i wirfodd, ac yn ddamweiniol y pechodd.

Oblegid nid oedd ordinhâd Duw yn

tynnu

tynnu ymmaith ei ewyllys ef, na damwain ei ewyllys, ond yn vnig yn ei drefnu, ai ddodrefnu.

Am hynny fel y dywed gŵr dyfcedig: *Volens peccavit & proprio metu. Efe a bechodd o'i wirfodd ac oi ewyllys ei hun*, ac o hynni ddylid bwrw ar Dduw, nac ar ei ordinhâd ef ddim drŵg. Beza.

*Antil.* Pa fodd, gan hynny, yr ydych chwi yn yftyried, ac yn dirnad o arfaeth Duw yn yr holl bethau?

*Theol.* Fel hyn: ddarfod i Dduw ordeinio rhyngddo ag ef ei hûn *vno actu*, ar vnwaith.

Y byddei fŷd.
Y crêid Adda yn berffaith.
Y cwympei o honaw ei hùn.
Y cwympei pawb gyd ag ef.
Yr achubei * efe rai or heppil colledig. * *Sef Duw.*
Y gwnai hynny o drugaredd, drwy ei fàb.
Yr euog-farnei efe eraill am bechod.

*Antil.* Ond pa fodd y profwch chwi ordinhâd gwrthodedigaeth? fef ddarfod i Dduw fwriadu damnedigaeth miloedd cyn bod y byd?

*Theol.* Yr Scrythur fy'n galw y gwrthodedig, *Llestri digofaint wedi eu cymhwyso* Rhuf. 9. 28.

*hwyso i golledigaeth.* Yr Scrythur a ddywed: *Nid appwyntiodd Duw nyni i ddigofaint.* Am hynny y canlyn fod rhai wedi eu appwyntio i ddigofaint: Yr Scrythur a ddywed am y gwrthodedig: *Eu bod wedi eu hordeinio i dramgwyddo wrth y gair.* 1 Petr 2. 8.

1 Thes. 5. 9.

Yr Scrythur á ddywed, *Eu bod wedi eu rhag-ordeinio er ystalm ir farnedigaeth hon.* Jud. 4.

Ezech. 18. 32.

*Antil.* Eithr pa fodd yr attebwch i hyn; Ni ewyllysia Duw farwolaeth pechadur: Am hynny ni ddewisodd efe neb i golledigaeth.

*Theol.* Nid yw Duw yn ewyllysio marwolaeth pechadur yn bendant, ac yn benffettur, fel y mae yn ddestruwar y creadur: ond megis y mae yn fodd i hyspysu ei gyfiawnder, ac i osod allan ei ogoniant ef.

*Antil.* A oedd Duw yn rhagweled, ac yn rhagwybod y cyfrgollid y drygionus drwy eu pechod eu hun: ac etto ni ragluniodd efe hwynt i hynny.

*Theol.* Rhag-olygiad, a rhag-wybodaeth Duw, ni ellir eu gwahanu oddiwrth ei ordinhâd ef.

Oblegid beth bynnag â rag-welodd, ac â rag-ŵybu Duw yn ei dragwyddol gyngor, hynny a fwriadodd efe ei ddwyn i ben.

Canys

Canys megis mai peth perthynol iw ddoethineb ef yw rhagwybod, a rhagweled pob peth: Felly peth perthynol iw allu ef yw rheoli, a llywodraethu pob peth wrth ei ewyllys ei hûn.

*Antil.* Pa beth yw'r hyn â elwch chwi rhag-olygiad yn Nuw?

*Theol.* Rhag-olygiad yn Nuw, yw'r peth trwy'r hwn y mae pôb peth yn aros yn bresennol o flaen ei lygaid ef, yn gymmaint ac iw dragwyddol wybodaeth ef, nid aeth dim heibio, nid oes dim i ddyfod; ond pob peth sydd bresennol, bob amser. Ac y maent felly yn bresennol, fel nad ydynt ddychymmygion, meddyliau, lluniau, a chynhyrfau: ond pob peth sydd bresennol ger bron Duw, yn wastadol yn y cyfryw fodd, a'i fod efe yn eu gweled hwynt yn eu gwirionedd, a'u perffeithrwydd.

*Antil.* Pa fodd y dichon Duw wrth gyfiawnder, fwriadu colledigaeth dynion cyn iddynt bechu?

*Theol.* Y gwrtheb yma â attebwyd or blaen mewn rhan: Oblegid mi â ddywedais i chwi, nad ydyw Duw yn euog-farnu neb oddieithr am bechod, naill ai am bechod gwreiddiol yn vnig; neu am bôb vn or ddau, gwreiddiol, a gweithredol.

Canys pa fodd bynnag y mae Duw ynddo ei hûn, cyn pob amser, yn bwriadu gwrthod llawer, er hynny nid yw efe yn

P dwyn

dwyn dim dialedd arnynt, nes cael ynddynt achosion hynod, eu bod yn gwir haeddu y peth â fwriedir i'w herbyn.

a *Anghy-wir.* Am hynny [a] anghymmwys, ac annoeth y maent hwy yn trîn eu pethau, y rhai â gymmyscant ordinhâd gwrthodedigaeth ynghyd â damnedigaeth, [b] gan mai pechod yw achos y naill, ac ewyllys Duw yn vnig yw achos y llall.

b *Ewyllys Duw yw achos gw-rthode-digaeth : ond pe-chod dyn yw achos damnedi-gaeth.*

*Phila.* Gan fyned o honom cyn belled a hyn yn y cwestiwn yma, drwy achlyssur gwrthattebion, a checcreth y gŵr yma, attolwg i chwi bellach, megis yr adroddasoch lawer am wrthodedigaeth, ar achosion o honaw : felly gedwch i ni glywed rhyw-beth am etholedigaeth ai achosion, ac eglurwch i ni allan or Scrythyrau ddarfod i Dduw, er cyn feiliad y byd ddewis rhai i fywyd tragwyddol.

*Theol.* Ynghylch ordinhâd etholedigaeth, nid oes nemmawr yn ammeu o honaw : O herwydd hynny, ychydig brawf â wasanaetha i'r pwngc hwnnw. Yn vnig mi ai cadarnhâf ag vn testiolaeth, neu ddau or Scrythyrau.

Eph. 1. 3, 4. Yn gyntaf fe â ddywed yr Apostol: *Bendigedig fyddo Duw, a Thâd ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysprydol yn y nefolion leoedd yng-Hrist : Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn san-*

*ctaidd*

*ẽtaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad.* Chwi â welwch fod y geiriau yn eglur, ac yn hyspys ir perwyl yma.

Prawf cadarn arall a dynnir or wythfed at y *Rhufeniaid. Yrhai â ragwybu a ragluniodd efe hefyd i fod yn vn ffurf a delw ei fab ef, fel y byddei efe yn gyntaf-anedig ymmhlith brodyr lawer.* Rhuf. 8.29.

*Phila.* Pa rai yw achosion etholedigaeth?

*Theol.* Achosion etholedigaeth á geir yn vnig yn Nuw ei hûn. Oblegid ei dragwyddol etholedigaeth ef nid o ddŷn y mae, nac o ddim sy mewn dŷn, ond wedi ei swriadu ynddo ef ei hun, ai gadarnhau yng-Hrist, yn yr hwn i'n etholwyd.

A hynny â brofir yn helaeth yn y geiriau hyn. *Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun, yn ôl bodlonrhwydd ei ewyllys ef: er mawl, a gogoniant ei râs ef, trwy yr hwn y gwnaeth ni yn gymmeradwy yn yr anwylyd.* Ni a welwn yma fod yr Apostol yn dangos i ni, mai ei ras anhaeddianus ef, a bodlonrhwydd ei ewyllys yw'r achosion cynhyrfol, neu cymhellig o'n etholedigaeth. Eph. 1.5. 6.

*Phila.* Eithr y mae gwŷr Rhufain yn cyrchu achos cynhyrfol ein etholedigaeth ni oddiwrth haeddedigaethau dŷn, ai ragweledig weithredoedd. Canys meddant hwy, Duw oedd yn rhagweled pwy a edifa-

rhaei, a gredai, aç a fucheddei yn dda: ac am hynny yr etholodd efe hwynt.

*Theol.* Eithr y maent hwy yn camgymmeryd ym mhell. Oblegid yr wyf fi yn dywedyd drachefn, a thrachefn, nad oedd dim ynom ni, â allai gynnyrfu Duw, a pheri iddo ofod ei gariad arnom, a'n dewis iddo ei hun, ond yr achos a gafodd ynddo ei hunan; Megis y mae yn fcrifennedig: *Y mae efe yn trugarhau wrth yr hwn y trugarhao, ar neb y mynno â galeda efe.* Rhuf.9 18.

Rhuf. 9. 16. Ac eilchwel, *Nid or hwn fydd yn ewyllyfio y mae, nac o'r hwn fydd yn rhedeg chwaith, ond o Dduw yr hwn fydd yn trugarhau.* Yr Arglwydd ei hûn hefyd â deftiolaetha felly, fef iddo ddewis ei bobl, nid o herwydd dim a oedd ynddynt hwy: ond yn vnig o herwydd

Deu 7.7. iddo eu caru, a bod *yn hoff ganddo hwynt.* Ac felly gwir ddiammeu ydyw fod tragwyddol ragluniaeth Duw yn cau allan hôll haeddedigaethau dyn, a holl nerth, a gallu ei ewyllys ef i ynnill drwyddynt fywyd tragwyddol: ac mai ei râd-drugaredd ef, ai ffafor anhaeddiannus, yw dechreuad, a chanol-waith, a diwedd ein hiechydwriaeth ni.

*Phila.* Gan hynny, pa vn ai ffydd fydd yn gobennyddu ar etholedigaeth, ai etholedigaeth ar ffydd: Hynny yw, a ddewifodd Duw nyni am ein bod yn credu, neu a ydym ni yn credu am i Dduw ein dewis?

*Theol.* Yn ddiddadl, ffydd, â holl ffrwythau

thau ffydd ydynt yn gobwyſo ar etholedigaeth:/Canys am hynny yr ydym yn credu, o herwydd ein bod wedi ein dewis, ac nid am hynny i'n dewiſwyd o herwydd ein bod yn credu: Fel y mae yn ſcrifennedig: *A chynniſer ac oedd wedi eu hordeinio i fywyd tragwyddol, a gredaſant.* Act 13. 48.

*Antil.* Os rhaglun.wyd dynion cyn eu geni, i ba beth y rhoddir gorchymynnion, cynghorion, cyfreithiau, *&c.* Nid gwaeth pa fodd y byddom byw: Oblegid ni ddichon, na'n buchedd dduwiol, na'n hannuwiol newidio arfaeth Duw.

*Theol.* Ymadrodd ſceler, a chnawdol yw hwn, ac yn dangos fod yn y ſawl ſydd yn ei arfer, feddwl ofer-wael, ac afreolus.

Ond mi a ewyllyſiwn ir cyfryw rai yſtyried diwedd ein etholedigaeth, yr hwn yw, fod i ni fyw yn dduwiol. Megis yr eglurwyd yn hyſpys yn y gyntaf at yr *Epheſiaid*; lle y dywed yr Apoſtol. *Ddarfod i Dduw* Ephe. 1. 4.
*ein ethol ni cyn ſeiliad y byd.* Ond i ba beth? Ai i fyw o honom fel y mynnem ein hunain? Nagê medd efe: *Ond fel y byddem yn ſanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef.* Drachefn y dywaid: *Duw* Rhuf. 8. 29.
*a'n rhagluniodd i fod yn vn-ffurf a delw ei Fab ef; ſef yn ſanctaidd ac yn gyfiawn.* Canys diammeu ydyw, na allwn ni farnu o ragluniaeth, oddieithr wrth y pethau ſy'n ei ganlyn, nid amgen, wrth ein

 galwedigaeth

galwedigaeth, ein cyfiawnhâd, a'n sancteiddiad.

Oblegid pan glywom vnwaith waith grâs yn gweithio ynom (hynny yw, pan alwer ni drwy ein geni o newydd, ac i'n hadnewydder drwy'r Yspryd Glân, a ninneu yn cael ynom ein hunain gasineb diragrith i bechod, a chariad i gyfiawnder) Yna y dichon fod yn siccr gennym, ac yn ddiammeu ddarfod ein rhaglunio ni i fywyd. *Oblegit y rhai â ragluniodd efe, y rhai hynny hefyd à alwodd efe: a'r rhai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiawnhaodd efe: a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hynny hefyd à ogoneddodd efe.* Rhuf.8.30.

Am hynny hyd oni chlywom y nodau, neu yr arwyddion hyn o etholedigaeth wedi eu gweithio ynom, ni allwn ni gael dim siccrwydd diogel yn y peth yma. Ac ni ddylem ni ymorol am dano, nac ymgymmyrredd ag ef: Ond ymegnio yn ôl y gallu, ar grym a fyddo gennym, i fyw yn rhinweddol, ac yn grefyddol, gan ddisgwyl pa bryd y trugarhao Duw wrthym, ac y rhoddo i ni allu i wir ddirnad ein cyflwr. Ac am y rhai sy ddiofal, ac afreolus, heb ymwrando a'u cyflwr, deled â ddêl: Nid oes ond gobaith wan a llesc eu bod hwy wedi eu hethol, neu y gwir elwir hwynt byth.

*Antil.* Yr wyfi yn tybied ddyfod drŵg mawr o bregethu, a chyhoeddi yr athrawiaeth

aeth hon o ragluniaeth Duw. A da fuasai, pe nas gwybuasai y bobl erioed ddim oddiwrthi, ond ei fod yn llwyr guddiedig. Canys fe a yrrodd rai i annobeithio, ac a wnaeth eraill yn ddifrawach, ac yn ddiofalach.

*Theol.* Yr ydych chwi mewn amryfusedd dybryd: Canys yr athawiaeth hon, rhan ydyw o egluredig wirionedd Duw, Yr hwn â fyn fod ei bobl ef yn ei gwybod. Ac yn wir ddigelwydd y mae cyssur rhagorol yn goferu oddiwrthi, buddiol i hôll blant Duw, yn erbyn holl gynllwynion diafol, a phrofėdigaethau anobaith.

Oblegit pan gaffo dyn wybod ynddo ei hun drwy arwyddion hynod, fod Duw wedi ei ddewis ef i fywyd, yna er bod y cythraul yn gosod yn daer arno, a chydwybod pechod a'i wendid ei hùn yn ei ruthr-gyrchu yn anguriol; etto efe a ŵyr yn hyspys fod tragwyddol arfaeth, a chyngor Duw yn anghyfnewidiol, ac o herwydd bod ei iachawdwriaeth wedi ei fylfaenu nid arno ei hûn, nac ar ei nerth ei hûn, ond ar anghyfnewidiol ordinhâd Duw, yr hwn fydd fail ddiymmod, ac yn fefyll byth yn ddiogel, ac yn gadarn: Am hynny gwneled Diafol, a phechod eu heithaf, a'u gwaethaf, etto efe à gynhelir mewn cyfiawnder, a gwirionedd, ac megis a ddygir ym mreichiau Duw i barhâu, ie hyd y diwedd.

Canys y fawl y mae Duw yn ei garu,

hyd y diwedd y câr. efe hwynt. Hefyd pan wypo pobl yr Arglwydd vnwaith (wrth eu sanctéiddiad a'u genedigaeth o newydd) ddarfod ir Arglwydd wrthod, a bwrw ymmaith gynnifer mîl-filoedd, a'u dewis hwynt i fod yn etifeddion o'i deyrnas ogoneddus, a hwythau ynddynt eu hunain or vnrhyw ddefnydd, a gwneuthuriad, ac ydoedd eraill ;, a gwneuthur o honaw hyn oll erddynt, o'i hyrâd râs, a'i anhaeddiannus drugaredd tu ag attynt: Oh mor rymmus, ac mor egniol, y gorchfyga, yr ynnill, ac y dŵg yr ystyriaeth yma eu calonnau hwynt iw hoffi a'i garu ef! Ac mor rhwydd-galon, a llawen y gwasanaethant ef? Mor ewyllysgar, a ffyddlon yr vfyddhânt iddo? Ie, pa wresogi a wnânt mewn awydd iddo? Oblegit coelio, a ffyddio fôd Duw yn ein caru ni, yw'r peth sy'n tynnu i fynu ein cariad ni tu ag atto ef eilwaith: Megis y dywaid Sant *Ioan*: *Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.* 1 Ioan 4. 19.

Ym mhellach, fe â ddywedir am Fair Fagdalen, *fadden llawer iddi*, *oblegit hi a garodd yn fawr.* Canys pan wybu hi fod ei haml, ai herchyll bechodau wedi eu maddeu yn rhâd iddi, ei nwydau a ennynwyd ynddi o gariad, ac vfydd-dod tu ág at Grist. Felly hefyd yr eglwys yn y *Canniadau* wedi

Luc. 7. 47.

bod

bod *yngwin-dŷ* pôb rhâd ysprydol, a chael bwrw trosti faner o gariad Crist, a gyffrôdd yn ebrwydd ar hynny, gan lefain (megis mewn llewyg) ei bod yn glâf o gariad. Felly eilchwel, *Pan estynnodd Crist ei law drwy dwll y ddor* (hynny yw, a gynhyrfodd ai Yspryd ddirgelion ei chalon hi) yna y cyffrôdd ei chalon, ai hymyscaroedd a ferchodd ynddo. Can. Sol 2. 5. Cant. 5. 4.

Dymma 'r peth y mae *St Paul* ar ei liniau yngweddio, ar ei roddi i'r *Ephesiaid*; *Allu o honynt ymgyffred gyd a'r holl Saint, beth yw'r lled, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r vchder, a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd vwch law pob gwybodaeth, a'u cyflawni a holl gyflawnder Duw.* Mal hyn, chwi a welwch y llesâd mawr, ar cyssur sy'n dyfod o athrawiaeth yr etholedigaeth, yn gystal am ei fod yn rhoddi nerth, a chymmorth yn erbyn profedigaethau, ac o herwydd ei fod yn ein cymmell i garu Duw, ac ô wir gariad arno iw ofni ef, ac i vfyddhau iddo. Ephe. 3. 18, 19.

*Phila.* Hyd yn hyn, i'm tŷb i, chwi a gymmerasoch ddigon o amser yn atteb trawsddadleuon, ac ymgeccreth *Antilegon:* am yr hyn oll yr wyfi yn dal sulw ar vn peth; nad oes dim diben ar ymryson, ac ymddadleu yn erbyn y gwirionedd, ac y dichon vn gŵr ddwyn mewn un awr fwy o ymofyniadau, nac a allai gŵr dyscedig yn hawdd eu hatteb mewn diwrnod.

*Theol.* Gwir a ddywedwch. A'r rheswm am hynny yw hwn, sef o herwydd bod pechod mewn dynion allan o fesur, ieithr bod yspryd Duw ynddynt mewn mesur: o hyn y medrant drwy'r naill ddychymmig, a dadleu rhwy yn erbyn y gwirionedd, nac a allant drwy'r llall ei atteb, ai ddywedyd ynghweryl y gwirionedd.

*Phila.* Amlwg yw yn sicr, fod amryfusedd yn anfeidrol, a gwrth ddadleuon yn anneirif; ac nad oes diben ar goegddadl dynion yn erbyn cyssegr-lan wirionedd Duw. Am hynny da yw i ni fod wedi * ymsefydlu yn y gwirionedd, fel na'n rhwyder, ac na'n magler a dadleuon twyllodrus, neu resymmau dichellgar.

* *Dyfnwreiddio*

Ond yr wyfi yn tybied yn ddiau, er ei holl drawf-ymofynion, ai wrthebau, ei fod efe fel Balaam yn ei gydwybod, yn dymuno marw marwolaeth y cyfiawn, a bod fel vn o honynt hwy, y rhai a dybygid ei fod yn eu diystyru.

*Theol.* Yr wyf finnau or meddwl hwnnw hefyd: Canys dymma'r gorfolaeth fydd gan rinwedd dda ar ddrygioni, mai lle yr ydys fwyaf yn ei chasau, yno y dymunir hi, ac y deisyfir. Ac dymma'r dialedd mawr y mae Duw yn ei ddwyn ar y drygionus,

Fely dywed y *Poet*:

*Virtu-*

*Virtutem vt videant intabeſcantque re-lictâ.*

Edwyn dryg-was anrhinweddol
Lle bo rhinwedd, ac ai canmol:
Ond nid ymgais ar ffordd vnion,
Er bod hyn yn clwyfo ei galon.

*Phila.* Eithr bellach dychwelwn at y peth oedd gennym yn llaw cyn ſyrthio o honom at y dadleuon, a'r ymgeccreth yma. Yr hyn oedd ynghylch leied fydd nifer, y rhai fyddant cadwedig. Ac megis y dangoſaſoch i ni reſymmau lawer ynghylch hynny: felly ewch rhagoch i ymmadrodd etto ychwaneg am y pwngc hwnnw.

*Theol.* Megis y dangoſais i chwi ſwrn o rwyſtrau yn gyſtal oddi mewn i ni, ac oddi-allan, yn ein battal oddiwrth Dduw, ac yn ein caethiwo yn dynn mewn pechodau: felly yr awr-hon, at y cwbl a ddywetpwyd o'r blaen, myfi a ychwanegaf naw o rwyſtrau mawrion, yn lluddias myned i fywyd tragwyddol.

Y rhai a ellid yn gymmwys eu galw naw o * farrau i gau allan o'r nefoedd, a naw porth i fyned i vffern. ** Droſ-lion.*

*Phila.* Pa rai ydynt?

*Theol.* Anghrediniaeth.

Rhyfygu o drugaredd Dduw.

Efampl y lliaws.

Hir arfer o bechu.

Naw porth vffern

Hir-

Hir-ddiangc rhag cospedigaeth.

Gobaith o fyw yn hîr, neu gobaith hir hoedl.

Tybied yn dda o honaw ei hun.

Drŵg-gymdeithas.

Drŵg siampl y Gweinidigion.

*Phila.* Y rhai hyn yn wir ydynt farrau cryfion i gau allan or nefoedd, a phyrth chang i vffern. Attolwg i chwi gan hynny, profwch hwynt allan or Scrythyrau, ac eglurwch yn helaethach.

*Theol.* Y cyntaf yr hwn yw anghredin-iaeth, â brofir or bedwaredd bennod at yr *Hebreaid*, adn. 2. *I ninnau y Pregethwyd yr Efengyl megis ac iddynt hwythau, eithr y gair â glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-tymheru a ffydd yn y rhai ai clywsant.* A thrachefn: *Ni allent*

Heb. 3. 19. *fyned, i mewn o herwydd anghredimaeth.* Yma y gwelwn fod angrediniaeth yn cau allan y bobl hynny, rhag myned i wlâd yr addewid, yr hon oedd rag-arwydd o dragwyddol deyrnas Dduw.

A diogel yw fod yr un fâth anghredin-iaeth yn cau allan filoedd o honom ninnau. Oblegid llawer ni chredant ddim ond eu dychymmygion eu hunain. Ni chredant air Duw, yn enwedig pan fyddo yngwrthwy-neb iw trachwantau hwynt, a'u gwyniau, a'u budd, a'u digrifwch. Eu profi pethau

yn

yn amlwg o flaen eu hwynebau, a dangos iddynt y bennod, ar adnod, etto ni chredant: Neu er dywedyd o honynt, eu bod yn credu, er hynny nid amcanant ymaffer a dim, ond gwrtheb yn erbyn Duw yn eu gweithredoedd.

Ac fynychaf, pan ddywedo Duw y naill beth, hwy à ddwedant beth arall. Pan ddywedo Duw ie, hwythau a ddywedant nagê, ac felly rhoddi iddo y celwydd. Drachefn rhai â ddywedant os gwir pob peth á ddywed y Pregethwyr, yna Duw a'n cymmortho. Fel hyn chwychwi á welwch pa fodd y mae'anghrediniaeth yn cau dynion allan o'r Nefoedd, ac yn eu bwrw i vffern.

*Phila.* Moefwch glywed am yr ail porth yr hwn yw rhyfig, neu gnawdol hyder'ar drugaredd Dduw.

*Theol.* Hwn a hyfpyfir yn *Deuteronomi*, lle dywaid yr Arglwydd mal hyn. *Pan glywo dyn eiriau y felldith hon, ac etto ymfendithio o honaw yn ei galon ei hun gan ddywedyd, heddwch fydd i mi, er i mi rodio ynghyndynrhwydd fynghalon i chwanegu meddwdod at fyched (nid amgen, y naill bechod at y llall.) Ni fyn yr Arglwydd faddeu iddo: canys yna y myga digllonedd yr Arglwydd ai eiddigedd yn erbyn y gŵr hwnnw: a'r holl felldithion fydd fcrifennedig yn y llvfr*

*hwn*

*hwn a orwedd arno ef, a'r Arglwydd a ddilea ei enw ef oddi tan y Nefoedd.* Deut. 29. 19,20.

Yma y gwelwn fod y Duw cadarn yn taranu i lawr yn erbyn y rhai a ânt rhagddynt yn eu pechodau, gan ryfygu o drugaredd Dduw, a dywedyd yn eu calonnau, os gallaf gael hamdden i lefain, *Arglwydd trugarha wrthif*, deir-awr cyn fy marw, digon yw hynny: ond peth cyfiawn ydyw gyd a Duw, pan ddêl y teir-awr hynny, gwarchau y cyfryw ddynion mewn dallineb, a chalon-galedwch, megis dialedd dyledus iddynt am eu rhyfig: Am hynny y Prophwyd *Dafydd* wrth ganfod aruthredd ei bechod, â weddiodd am gael ei waredu
Psal. 19. 13. rhagddo. *Attal hefyd dy wâs oddiwrth bechodau rhyfygus, na arglwyddiaethant arnaf.* Gan hynny ymogeled pawb rhag pechodau rhyfygus. Canys er bod Duw yn llawn trugaredd, etto ni ddengys efe ddim trugaredd i'r rhai â ryfygant o'i drugaredd ef. Eithr hwynt-hwy a gânt ar hynt wybod iw dialedd, fod cyfiawnder yn dyfod oddiwrtho ef, yn gystal a thrugaredd.

*Phila.* Deuwn at y trydydd porth yr hwn yw esampl y lliaws.

*Theol.* E brofir hwn yn *Exodus*, lle y mae'r Arglwydd yn dywedyd yn ddifrifol:
Exod 23. 2. *Na ddilyn liaws i wneuthur drwg.* Mewn man arall y dywaid yr Arglwydd: *Na wnewch*

*wnewch yn ôl gweithredoedd gwlàd yr Aipht, yr hon y trigasoch ynddi, ac na wnewch yn ôl gweithredoedd gwlàd Canaan, yr hon yr ydwyf yn eich dwyn chwi iddi, ac na rodiwch yn eu deddfau hwynt.* Lev. 18. 3.

Yn erbyn y gyfraith hon y trosеddodd plant yr *Israel*, pan ddywedasant yngh yn-dynrhwydd eu calon wrth y Prophwyd *Ieremi. Am y gair a leferaist ti wrthym ni yn enw 'r Arglwydd, ni wrandawn ni arnat. Onid gan wneuthur y gwnawn ni bòb peth ar a ddelo allan o'n genau, megis y gwnaethom, nyni a'n tadau, ein brenhinoedd a'n tywysogion yn ninasoedd Juda ac yn heolydd Jerusalem.* Jer. 44. 16.

Deliwch sulw pa fodd y maent yma yn llwyr wrthod gair yr Arglwydd ac yn dilyn esampl y lliaws. Nyni a welwn yn y dyddiau hyn wrth resynol adnabyddiaeth, fod y ffrŵd hon yn dwyn ganddi i wared filoedd o ddynion; ac i ymddeffyn y bai hwn rhai a ddywedant, gwnewch fel y gwnelo y rhan fwyaf, ac fe fydd llai siarad am danoch: yr hwn sydd ymadrodd sceler.

Oblegit os nyni a ddilynwn helynt y rhan fwyaf, ninneu a gawn wobr y rhan fwyaf, yr hon yw colledigaeth dragwyddol. Gochelwn gan hynny ddilyn y llwyr-rwysc. Canys rhwysc y byd sy'n mantoli pob peth ar â ellir ei adrodd

allan

allan o air Duw, ac yn agoryd ffordd lydan i vffern.

*Phila.* Ewch rhagoch at y pedwerydd porth i vffern, yr hwn yw hir arfer o bechu.

*Theol.* Hwn â nodir gan y Prophwyd *Ieremi*, i fod yn beth tra peryglus. Canys efe â ddywaid, *A newidia yr Ethiopiad ei groen? Neu'r llewpard ei frychni? felly chwithau â ellwch wneuthur da, y rhai â gynnefinwyd a gwneuthur drwg.* Jer. 13. 23.

Dangos y mae wrth hyn mai cyn anhawsed yw ymadel a hên arfer o bechu, ac â fyddei golchi Ethiopiad yn wyn, neu newidio brychni y llewpard; yr hyn bethau, oblegid eu bod iddynt hwy yn naturiol, ydynt amhossibl eu newidio Felly darfyddo i ddynion drwy gynnefindod wneuthur tyngu, dywedyd celwydd, godineb, a meddwdod megis yn naturiol iddynt eu hunain, o mor anhawdd ydyw eu gadael ymmaith! Canys arfer â wna ail naturiaeth, ac â bair i ddyn fod heb ymwrando ag ef ei hun, na synnied o bechod, ond pechu yn ddichwith.

*Phila.* Moeswch glywed am y pummed porth, yr hwn yw hir ddiangc rhag cospedigaeth.

*Theol.* Hwn â brawf y gŵr doeth yn y geiriau hyn. *O herwydd na wneir barn yn fuan yn erbyn gweithred ddrwg: am hynny*

Preg. 8. 11.

*calon*

*calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg.* Lle y dengys, mai vn achos, paham y mae dynion yn caledu yn eu pechodau yw, o herwydd bod Duw yn goddef iddynt, ac yn eu gadael yn llonydd, heb eu cospi yn ebrwydd yn ôl iddynt bechu.

Oblegit pe bai Duw yn ddi aros yn taro i lawr y naill, ac yn glawio tân a brwmstan ar y llall, ac yn peri ir ddaiar lyngcu y trydydd, yr a yr ofnei ddynion yn ddiau: Eithr fe â ddangoswyd or blaen, nad ydyw Duw yn cymmeryd y ffordd honno: Ond er ei fod yn dial ar rai yn y byd ymma, etto y mae yn gollwng miloedd i ddiangc, a hynny ai gwna hwynt yn hyfach yn eu drwg, gan dybied nad rhaid iddynt byth ddyfod iw hatteb. Megis y bydd hên leidr wedi diangc tros hîr amser rhag y carchar, ar crogbren, yn tybied y caiff ddiangc rhagllaw; ac am hynny y mae efe yn parhau i ledratta yn ddiofn.

Ond ymogeled dynion: Oblegit fel y dywed y ddihareb. *Er bod yr stên yn tramwy ir ffynnon er ystalm, etto ar y diwedd hi a ddaw adref wedi ei thori*: Felly er i ddynion gael diangc dros amser, ni allant ddiangc tros byth: fe ddaw y dydd cyfrif, dydd â dal hyd adref am y cwbl. Felly chwi â welwch fod* anghospedigaeth yn dwyn llaweroedd i ddestryw: Sef pan gaffo dynion lonydd heb

* *Diffyg cospedigaeth.*

nai.

nai taro a llaw Dduw, nai cospi wrth gyfraith y llywodraethwr.

*Phila.* Gedwch ddyfod at y chweched porth, sef gobaith hir enioes.

*Theol.* Dyna beth â brawf Christ Jesu ynghylch y goludog bydawl, yr hwn pan gansu fod y bŷd yn chwerthin arno, ac yn llwyddo gan ido ym mhôb cyflawnder, a ddywedodd, y tynnei efe i lawr ei yscuboriau, ac yr adeiladei rai mwy, ac y dywedei wrth ei enaid: *Fy enaid y mae gennit dda lawer wedi eu rhoi i gadw tros lawer o flynyddoedd, gorphywys, bwytta, ŷf, bydd lawen.* Luc. 12. 19, 20.

Ond ein Achubwr ai geilw ef yn ynfyd, am wenheithio iddo ei hûn mewn difrâwch gan addo iddo ei hun hir hoedl. Heb law hyn fe a ddywedodd wrtho yn eglur, mai'r nôs honno y deuai efe i ddiwedd amharchus. Deliwch sulw, attolwg, pa fodd y mae Jesu Grist ffynnon pob doethineb yn galw y dyn hynnw yn ynfyd, ac efe a rŷdd reswm am hynny, nid amgen, am ei fod yn trysori iddo ei hún, ac nad oedd gyfoethog tu ag at Dduw.

Gofal mawr oedd ganddo am y bywyd yma, ond nid oedd dim gofal am yr hwn sydd i ddyfod. Felly canlyn y mae, fod pawb oll yn wir ffyliaid, ac â ellir eu rhoi mewn chronicl am ffyliaid (er called y cymmerir hwynt yn y byd) y rhai ydynt yn dirfawr ofalu

ofalu am eu cyrph, ac yn ddiofal am eu heneidiau: gofal mawr am y bywyd hwn, ac bychydig am yr vn sydd i ddyfod. Eithr bydded esampl y gŵr hwn yn rhybudd i bob dyn bydol-feddwl anghrefyddol, â fo'n breuddwydio cael hir hoedl (ac am hynny yn oedi edifarhau, ac ymchwelyd at Dduw) i ymogelyd rhag iddynt gam-gymmeryd eu cyfrif, a'u cippio ymmaith yn ddisymwth ynghanol eu digrifwch, a'u llawenydd; fel y dywed *Job: Y naill sydd yn marw yn ei gyflawn nerth, ac efe yn esmwyth, ac yn heddychol yn gwbl: ei fronnau ef sydd yn llawn llaeth: a'i escyrn yn iraidd gan fêr:* Nyni â welwn wrth hyn mor beryglus o beth ydyw i ddynion eu siommi, a'u twyllo eu hunain â gobaith o hir hoedl. Job. 21. 23, 24.

*Phila.* Ewch rhagoch at y seithfed porth, yr hwn yw tyb dda o honaw ei hun.

*Theol.* Porth ehang iawn yn ddiau, yw hwn i fyned i vffern: Canys yr Scrythur â ddywaid. *A weli di ŵr doeth yn ei olwg ei hun? gwell yw'r gobaith am ffôl, nag am hwnnw.* Ac eilchwel *Doethach yw'r diog yn ei olwg ei hun nâ seith wyr yn adrodd rheswm.* Nyni a welwn fod yr yspryd glân yn tystio am y rhai sydd yn ymchwyddo gan dybied yn rhy-dda o'u doniau ei hunain, y rhai hynny sydd bellaf o'r cwbl oddiwrth deyrnas nefoedd. Diha. 26, 12. Diha. 26: 16.

Canys hwynt hwy ydynt yn diystyru
doethineb

doethineb Duw iw destruw eu hûn, ac yn ddirmygus ganddynt ddyscu. Hwy â ddywedant, y gwyddant gymmaint ac â fedr o'r holl bregethwyr ei ddangos iddynt.

Canys pa beth â ddichon yr holl bregethwŷr ei ddywedyd wrthynt mwy na hyn. Pechaduriaid ydym oll, rhaid yw ein hachub drwy Grist. Rhaid i ni wneuthur, fel y mynnem wneuthur i ninnau: nid oes ond hyn, os da y gwnewch, da y cewch.

Och y druein! y maent yn edrych yn vchel, ac yn tybied yn wŷch tros ben o honynt eu hunain, heb ystyried *eu bod yn dlodion, yn noethion, yn ddeillion ac yn druein.* (Dat.3.17.) Y cyfryw ddynion â rônt eu holl ymddiried yn eu synwyr eu hunain, eu dŷsc, eu cyfrwystra, eu golud a'u cymmeriad yn y byd. Ac oblegid bod pawb yn eu mawrygu, ac yn eu canmol, am hynny y maent yn chwyddo fel ceiliogod Twrci, yn castellu eu adenydd, gan eu llusco ar hŷd y llawr, drwy osod pawb eraill ar ddirmig, a diystyrwch, megis pe hwynt hwy syddei odiaeth-bethau y byd. Heb law hyn pan ganmoler hwynt am eu doniau, a gwnethur yn fawr o honynt, peth rhyfedd yw gweled pa ymgymhwyso a wnânt, fel pe baent ar fedr ymgodi ar frŷs, ac ehedeg ir cymmylau.

Pob dyn meddylfalch vchel fryd, gwrandawed ar y gwae â dreuthir yn eu herbyn gan dragwyddol frenin y gogoniant, gan ddywedyd :

*Gwae*

*Gwae y rhai sydd ddoethion yn eu golwg* Esai. 5.
*eu hûn:* Drachefn, gwrandawant ar gyngor 21.
Duw yn dywedyd wrthynt. *Gobeithia yn yr* Diha. 3.
*Arglwydd âth holl galon, ac nac ymddiried* 5. 7.
*i'th ddeall dy hun. Na fydd ddoeth yn dy olwg dy hun, ofna yr Arglwydd, a thynn ymmaith oddiwrth ddrygioni.*

Y ffol-feilch truein hyn, oblegid bod ganddynt gyfrwystra y byd, ac y medrant yn gyfarwydd gyrhaeddyd pethau y bywyd yma, a'u trîn hyd yr eithaf; â dybiant y gallant hefyd ynnill y nefoedd drwy eu synnwyr gyfrwys-gall, a dyfnder eu dychymmygion. Eithr druein gwerin, ymaent yn eu siommi eu hunain yn aruthr: Canys doethineb y byd sydd ffolineb gyd â Duw, ac *y* 1 Cor. 3.
*mae efe yn dal y doethion yn eu cyfrwystra.* 19.
A thrachefn y dywed yr Arglwydd. *Mi* 1 Cor. 1.
*à ddifethaf ddoethineb y doethion, a deall y* 19.
*rhai deallus a ddileaf.*

Gan hynny na safed y gwŷr hyn ormod yn eu goleuni eu hunain, ac na hyderant yn eu deallgarwch: Canys nid ydynt oll ond megis iâ vn nos, yr hwn â dwylla y neb â ymddiriedo gerdded arno. Byddant ffyliaid ynddynt eu hunain fel y gwnelo Duw hwynt yn ddoethion, gwadant eu hunain fel y cydnabyddo Duw hwynt. Ymostyngant ynddynt eu hunain fel y derchafo Duw hwynt.

Oblegit yn wir nid oes yn ôl y bywyd

yma ddim ymarfer o ddoethineb cnawdol,
Preg. 2. 16. er maint fyddo. *Pa fodd y mae y doeth yn marw? fel yr annoeth*; medd yr yspryd Glân. Ac lle y diweddo pob doethineb bydol, yno y dechreu pob doethineb nefol. Mal hyn nyni a welwn pa borth llydan i vffern yw calon meddyl-falch, a maint o nifer a ânt i mewn drwyddo.

*Phila.* Eglurwch i ni yr wythfed porth i vffern: yr hwn yw drŵg gyfeillach.

*Theol.* Yr yspryd glân yn rhag-weled mor enbaid yw hwn, ac yn gwybod mor hylithr ydym ni i ddilyn drŵg gymdeithas, a rŷdd i ni rybudd difrifol i ymgadw rhagddo, megis peth tra-pheryglus.
Dihar. 4. 14. 15. *Na ddôs i lwybr yr annuwolion, ac na rodia ar hyd fford y drygionus. Gochel hi, na ddôs ar hyd-ddi; cilia oddiwrthi hi, a dôs heibio.* Y rheswm
Dihar. 13. 20. am hyn a roddir mewn lle arall: lle y dywedir: *Yr hwn sydd gyfaill i ynfydion a gystuddir.* Gan hynny gocheler gyfeillach ddrŵg. Oblegid llawer drwy hynny a aethant ir crogbren, ac â ddarfu iddynt gyfaddef ar yr yscol, mai drŵg gymdeithas ai dygasai ir dihenydd hwnnw: Ac a gynghorasant bawb wrth eu siampl hwy i ymogelyd, a gochel cymdeithas ddrygionus.

Ym mhellach yr Scrythur â ddywaid. *Y neb a ganlyno oferwyr, a gaiff ddigon o dlodi.*
Dihar. 28. 7, 19. Ac eilchwel yn yr vn bennod. *Y neb a fyddo e dy-*

*cydymaith i loddeſtwŷr a gywilyddia ei dad.* Gan hynny moeſwch i ni ddywedyd gyd a *Dafydd: Cyfaill ydwyf fi ir rhai oll a'th ofnant ac a gadwant dy orchymynion.* Ac or gwrthwyneb dywedwn gyd ag ef; *Nid eiſteddais gyd a dynion coegion, ac gyd a'r trofaus nid af. Caſèais gynnulleidfa y drygionus, a chyd a'r annuwolion nid eiſteddaf.* Am hynny, Wrth ſiampl *Dafydd*, ymogelwn rhag cymdeithas y drygionus, cyfeillach yw'r argoel hynottaf i adnabod dyn wrtho. Oblegit megis y mae pob àn-ghyffelyb yn anghyfeilladwy: felly pob cyffelyb a ymgais. Pſal. 119, 63. ac 26 4, 5.

Yma gochelwn ein twyllo ein hunain a geiriau ofer, ac a thŷb hygoel on nerth ein hunain, fel pe baem cyn gryfed â Chriſt, ac na ellid ein llithio â neb rhyw fâth ar gymdeithas. Nac ydym ddim: yr ydym ni yn hyfforddach i'n denu, nac i ddenu: i'n denu i ddrŵg gan eraill, nac i ddenu eraill i dda. Am hynny y dywed Duw drwy ei Brophwyd, *Dychwelant hwy attat ti, eithr na ddychwel di attynt hwy.* Diau mai dŷn rhyfedd yw efe yr hwn nis gwaethyger drwy gymdeithas ddrŵg. Ier. 15. 19.

Oblegit a ddichon dyn deimlo pŷg, ac na lyno wrtho? Neu ddwyn marwor yn ei fonwes, a bod heb loſci? Greſſyndod mawr yw gweled beunydd llawer o'r rhai a'u tybiant eu hunain yn gryſion, yn ymbalogi,

ac yn ymddifwyno ffordd honno. Am hynny ystyried dyn, nad yw efe byth yn ymwrthod á drŵg, hyd onid ymadawo à chyfelliach y drygionus. Canys ni chyttunir ar ddim daioni yn y parliament hwn. Oblegid cymdeithas ddrŵg yw megis pentref vffern. Heb law hyn, peth iw ystyried yw, fod rhai wrth gael rhybudd, ac eraill wrth gyffro cydwybod oddi mewn, yn ymadael a'u pechodau hyd oni ddelont eilwaith ym mhlith eu hên ddrŵg-gymdeithion, ac y cymmeller hwynt drachefn i ddychwelyd iw hên gynnefin ffolineb, megis cî yn dychwelyd at ei chwdfa: Oblegid ni á welwn rai o naturiaeth, ac athrylith ragorol, wedi eu hudo yn resynol, a'u tynnu megis o drais gyd â chymdeithion drŵg.

* *Tanwydd.* Megis y mae * cynnyd irion o honynt eu hunain yn anhawdd ganddynt losci, eithr o'u gosod a'r dân ynghyd a sych wydd, hwy â loscant yn gystal a hwythau; felly llawer o ddynion ieuangc cyneddfol, er nad ydynt o honynt eu hunain mor hylithr i ddrygioni â rhai eraill, etto â ddygir ymmaith gyd â chefn-lli, a rhyferthwy chwyrn-ffrwd cyfeillion drŵg i wneuthur annuwioldeb.

*Phila.* Deuwn bellach at y portth olaf, yr hwn yw drŵg siampl yr eglwyswŷr.

*Theol.* Y mae yn ddrŵg gennif, ac yn gywilyddus

gywilyddus ymadrodd am y pwngc hwn:o-
blegid tosturus, a gresynol ydyw bod neb
or cyffelyb iw cael ym mysc meibion Lefi.
Onid gofid calon yw bod gweinidogion
Crist yn eu ymarweddiad yn dramgwydd
i eraill? Canys o bydd y llygad yn dywyll,
faint yw y tywyllwch hwnnw? Os hwynt
hwy â fyddant yn esamplau o bôb dry-
gioni iw praidd, y rhai á ddylent fod
iddynt yn battrymmau, yn gannwyllau,
ac yn esamplau o ddaioni: à ddichon
amgen na bo hynny yn cryfhau dwylo y
drygionus, fel na allant ddychwelyd oddi-
wrth eu drygioni? Eithr hên afiechyd yw
hwn, a chlefyd blîn yn glynu erioed yn yr
eglwys.

Y Prophwyd Ieremi fydd yn cwynfan
yn dôst rhagddo yn ei amser ef gan ddyw-
edyd, *Ac ar Brophwydi Ierusalem y* Iere. 23.
*gwelais beth erchyll; torri priodas a rho-* 14.
*dio mewn celwydd; cynnorthwyant hefyd
ddwylo y drygionus, fel na ddychwel neb o-
ddiwrth ei ddrygioni; y mae y rhai hyn oll
i mi fel Sodoma, a'i thrigolion fel Gomor-
rha.* Ac yn y nawed adnod or vn rhyw
bennod, y dengys nad oedd ganddo lawe-
nydd yn y byd orfod iddo eu ceryddu
mor gyhoeddus, eithr ei fod yn gwneu-
thur hynny drwy drymder mawr, ac na
allai amgen yn gystal o ran gogoniant Duw,
a llesâd ei eglwys.

Ei eiriau ef ŷnt y rhai hyn. *O herwydd y Prophwydi y torrodd fyngh alon ynof, fy holl escyrn a grynant.* Ym mhellach yn yr vn rhyw bennod yr yspyfir pa wedd y bwydei yr Arglwydd hwynt â wermod, ac a'u diodei â dwfr bustl, ac y dygei arnynt lawer o ddialeddau eraill, am eu gweniaith, a'u hudoliaeth, au gau-athrawiaeth, a drŵg-siampl eu buchedd.

*Phila.* Diddadl ydyw, fod esampl ddrŵg y gweinidogion, ac yn enwedig y Pregethwŷr yn beryglus tros ben, ac yn dramgwyddus; oblegid drwy hynny y caledir miloedd yn eu pechodau. Canys fe â ddywedir, y cyfryw Eglwyswr, ar cyfryw Bregeth-ŵr â wna mal hyn, a hyn, a phaham na allwn ni wneuthur felly hefyd? Y maent hwy yn ddyscedig, ac yn gyfarwydd yngair Duw, am hynny pe bai'r peth yn ddrŵg, gobeithio na wnaent hwy mo honaw. Oblegid hwynt hwy a ddylent fod yn oleuni i ni, a rhoi esamplau da. Gan eu bod hwy yn gwneuthur y fath bethau, ni wyddom ni beth a feddyliwn, na pha beth â ddywedwn yn yr achos: Y maent yn peri ir cyfryw ddynion gwirion a nyni, ymbendafadu.

*Theol.* Oh na allwn gyd a'r Prophwyd gynhyrfu, a chrynu o feddwl am y matterion hyn. Oh na allwn gwynfan fel colommen wrth ei scrifennu! Oh na bai gennif

fŵth

fŵth yn yr anialwch, ac na allwn gyda Iob, fod yn frawd i'r ddraig, ac yn gyfaill i'r Estrys, tra y meddyliwyf am y pethau hyn. Oh na fedrwn wylofain, a galaru y'n ddibechod yn [rhoddi i chwi atteb. Canys wylofain yn ddiau â allaf, ond eich atteb ni fedraf. Gwae fi, (y mae yn drwm ar fynghalon orfod ei ddywedyd) y mae'r cwbl a ddywedasoch yn rhŷ wir.

Ac yn hyn y mae gan y bobl fantais arnom, os gellir ei alw yn fantais: Ond cymmerwch hyn yn atteb: *Os y dall a dywysa y dall, y ddau a syrthiant yn y ffos.* Mat. 15. 14. Cyfarwydd-wyr deillion, a phobl ddeillion a gydgollir. Os o herwydd ein bod ni yn ddrŵg, y byddant hwythau yn waeth, yna hwynt hwy a ninnau a gydloscir yn Nhân vffern. yno cyfrifant eu mantais, ac edrychant pa faint a ynnillant. Bychan yw'r achos iddynt i ymfawrygu i'n herbyn. Oblegit nid yw eu marchnad ddim gwell er hynny. Cymmerant hyn yn lle atteb.

A moeswch i ninneu Gweinidogion Crist, a phregeth-wŷr ei air ef, edrych yn graff arnom ein hunain, a gwneuthur llwybrau vnion i'n traed. Oblegid os fangwn ni ar gam, er lleied fyddo hynny, ni â gawn weled fod llawer o lygaid yn edrych arnom. Gan hynny gweddiwn yn wastadol gyd â Dafydd: Vniawna Psal. 17. 5. ac 13. 4.

ſyngherddediad o Arglwydd fel na lithrwyf: Canys pan lithrodd fy nhroed, y llawenychaſant i'm herbyn. Ac am y bobl, dilynant hwy eſamplau y ſawl â rodiant yn ddifeius (megis i Dduw bo'r diolch y mae rhai or cyffelyb) ac ymogelant eſamplau y troſeddwyr: felly y bydd mwy gogoniant i Dduw, a mwy heddwch yn eu cydwybodau hwythau.

Mal hyn nyni â glywſom mor ehang yw'r porth â agorir i vffern drwy eſampl yr Eglwyſwŷr; ac yn enwedig Pregethwyr.

*Phila.* Gedwch iddo: Gan fod cynnifer o farrau yn cau allan or Nefoedd, a chynnifer porth i fyned i vffern; peth anhawdd tros ben yw torri drwy'r holl farrau hyn, ac felly myned i fywyd: ac mor anhawdd yw myned heibio i'r holl byrth hyn, a diangc rhag vffern; â wnelo hyn, y mae yn gwneuthur gorcheſt.

*Theol.* Gwir yw hynny: Ac megis y mae hyn yn anhawdd, felly cyn anhawſed a hyn yw i gîg, a gwaed fyned i deyrnas nef. Ac etto y rhan fwyaf, a wnânt gyfrif bychan o honaw, ac a dybiant ei fod yn beth or hawſaf.

Aſune. *Er anhawſed ydyw, etto gobeithio yr wyf drwy ras Duw y byddaf fi un or rhai a ant i mewn i'r nef. Canys tra y gwnelwyf fel y mynnwn wneuthur i minneu,*

ac

*ac na ddywedwyf ddrŵg am neb, ac na wnelwyf ddrwg i neb, Duw a fydd trugarog wrth fy enaid. Ac nid oes ammeu gennif na bydd fyngweithredoedd da, yn rhagori ar fyngweithredoedd drŵg, ac y gwnaf vnion gyfrif a Duw yn fy nydd diwedd.*

*Oblegit i Dduw y diolchaf am dano, mi a fum fyw bob amser yn ei ofn ef, ac ai gwasanaethais a chalon vnion. Am hynny myfi a wnn tra y cadwyf ei orchymynnion ef, ac y byddwyf byw fel y mae fynghymmydogion, ac fel y gweddai i Gristion, na chyll efe mo'm henaid.*

*Theol.* A ellwch chwi gan hynny gadw gorchymynion Duw?

*Asune. Cyn nessed ac y rhoddo Duw i mi ras.*

*Theol.* Gofyn yr wyf fi i chwi â ydych yn eu cadw hwynt, a'i nad ydych?

Asune. *Yr wyf yn ceisio eu cadw cyn nessed, ac y gallwyf: yr wyf yn bwriadu hynny yn ffyddlon: Er nad wyf yn eu cadw oll, etto y mae yn ddiogel gennif fy mod yn cadw rhai.*

*Theol.* Oblegid eich bod yn dywedyd eich bod yn cadw rhai o honynt, gadewch i mi attolwg, fod cyn hyfed arnoch, a'ch holi ym mhôb vn o honynt. Chwi â wyddoch, y gorchymyn cyntaf yw hwn: *na fydded it dduwiau eraill*

*ger fy mron i:* beth meddwch, â ydych yn cadw hwn?

Asune. *Nid oes arnaf mor vnon am hwn. Oblegid nid addolais i erioed un Duw ond vn: y mae yn gwbl sicer gennif nad oes ond vn Duw.*

*Theol.* Beth â ddywedwch chwi am yr ailsed gorchymmyn: *Na wna it dy hun ddelw gerfiedig.*

Asune. *Nid addolais i ddim delwau erioed er pan i'm ganed. Nid oes gennif goel arnynt: mi â wnn na allant help i mi: canys nid ydynt ond prennau, a main.*

*Theol.* Pa beth â ddywedwch wrth y trydydd gorchymyn, yr hwn yw, *na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer,* &c.

Asune. *Nage yn wir; ni'm cyfrifwyd i erioed yn dyngwr; eithr myfi â ofnais Dduw o'm mebyd, a chennif ffydd dda ynddo er pan ddaw côf gennif. Pe amgen, e fyddei ddrwg gennif.*

*Theol.* Beth â ddywedwch gan hynny am y pedwerydd gorchymyn: *Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth,* &c.

Asune. *Am hynny-o beth, yr wyf yn cyrchu i'm heglwys mor ddyfal ac vn-gwr yn y plwyf, yr wyf yn trigo ynddo, ac yn arfer o weddio pan fyddwyf yno. I Dduw yr wyf yn diolch am dano (nid er dywedyd am danaf fy hun) mi â fûm erioed yn dwyn*

*meddwl*

*meddwl da, ac yn caru gair Duw am holl galon: ac y mae yn odiaeth gennif wrando ar ein Ficar ni, yn darllain yr Epistolau, ac Efangylon bob ſul.*

*Theol.* Dywedwch i mi, beth meddwch am y pummed gorchymyn, Anrhydedda dy Dâd, a'th fam, *&c.* a ydych chwi yn cadw hwn?

Aſune. *Erioed y cerais fy nhad, a'm mam ac a vfyddheais iddynt o'm calon. Gobeithio na ddichon neb roddi dim i'm herbyn am hynny: ac yn wir od wyf yn cadw yr vn or gorchymynion, hwn yr wyf yn ei gadw. Canys pan ceddwn yn facbgen, pob dŷn a ddywedai fy mod yn blentyn graſlon, a rhinweddol. Am hynny oni chadwn y gorchymyn yma, fe a fyddei ddrŵg tros ben gennif.*

*Theol.* Beth â ddywedwch am y chweched gorchymyn: *na lâdd?*

Aſune. *Peth rhyfedd, oni chadwn hwnnw.*

*Theol.* Beth am y ſeithfed: *na wna odineb?*

Aſune. *I Dduw yr wyf yn diolch, ni bûm mi erioed yn ymlid budrogod; fe am cadwodd Duw fi erioed rhag hynny, a gobeithio i'm ceidw rhagllaw.*

*Theol.* Beth am yr wythfed: *Na ledratta?*

Asunet. *Nid wyf na phutteinwr na lleidr.*

*Theol.* Beth a ddywedwch wrth y nawfed : *na ddwg gam dystiolaeth ?*

Asune. *Myfi a ffieiddiais o'm calon bob gau destiolaeth ?*

*Theol.* Beth a ddywedwch wrth yr olaf : *na chwennych*, &c.

Asune. *I Dduw yr wyf yn diolch am dano, ni chwenychais dda vn-gŵr, ond yr eiddof fy hun.*

*Theol.* Yn awr yr wyf yn deall, eich bod chwi yn ŵr rhyfedd : chwi â ellwch gadw yr hôll orchymynion. A thebyg ydych ir llywodraethŵr coeg-ddall a ddywedod wrth Grist : *Yr holl bethau hyn a gedwais o'm bieuengtid.* Yr awr-hon yr wyf yn deall, mai dirysedd eich bod yn dibrisio Pregethu : Oblegid nid rhaid i chwi wrtho. Yr ydych chwi yn holl-iach, nid yw raid i chwi wrth feddig:ni clywch oddiwrth drueni, ac nid yw raid i'wch geisio trugaredd. Canys lle ni wyper oddiwrth drueni, yno nid oes gyfrif o drugaredd : ond mi a welaf nid rhaid i chwi wrth Iachawdwr.

Math. 19. 20.

Asune. *Nid da y dywedwch yn hynny. Y mae yn rhaid i mi wrth Iachawdwr, a'm Harglwydd Iesu yw'r hwn am hachub;canys efe a'm gwnaeth.*

*Theol.* Pa raid i chwi wrth jachawdwr, gan nad ydych yn bechadur ?

Asune.

Asunet. *Ydwyf yn wir, yr wyfi yn bechadur, yr ydym bawb yn bechaduriaid, nid oes neb ar nas pecha.*

*Theol.* Pa fodd y gellwch fod yn bechadur, a chwithau yn cadw yr holl orchymynnion?

Asunet. *Gallaf, yr wyf yn bechadur er hynny ei gyd.*

*Theol.* A ellwch chwi fod yn bechadur, a bod yn ddi-bechod hefyd? Oblegid y neb â gadwo'r gorchymmynion sydd ddi-bechod. Yr hwn beth meddwch chwi, yr ydych yn ei wneuthur; Ond myfi a welaf fel y mae'r matter yn sefyll, nid amgen, fod llaweroedd or fâth ddynion ag ydych chwi, annwybodus, a lled-chwelan, a ddywedant yn gyffredinol eu bod yn bechaduriaid, o herwydd bod eich cydwybod yn dangos i chwi hynny; Ond pan ddeloch bawb attoch eich hunain yn neillduol, ni wyddoch pa fodd yr ydych yn pechu, nac ym mha beth.

Attolwg, gan hynny, gadewch i mi eich arwain vnwaith etto trwy'r gorchymynion, ac ymwrando a chwi ynghylch pethau neillduol; i edrych a allwyf eich dwyn i weled eich pechodau.

Pa beth â ddywedwch gan hynny, ydych chwi ar eich gliniau bob borau a hwyr, yn diolch i Dduw am ei ymgeledd neillduol, ai aml drugareddau tuag attoch? ac a ydych

yn galw arno yn fynych ar eich pen eich hûn, ac yn fynych hefyd gyd a'ch teulu? Attebwch fi yn ddi-ymdro ac mewn gwirionedd.

Asunet. *Ni allaf ddywedyd mo hynny.*

*Theol.* Chwithau a dorrasoch y gorchymmyn cyntaf, yr hwn sydd yn gofyn gennym roddi i Dduw ei wir addoliant; o ba vn y mae gweddi a thâl-diolch yn rhan: felly yma ar y dechreuad fe a'ch ceir yn euog. Ymmhellach y gofynnaf i chwi, a gododd ynoch erioed wrth weddio, ddim trawsfeddyliau, ac onid oedd syn-feddylfryd eich calon yn taro, ac yn rhedeg weithiau at ryw achosion eraill, a hynny tra fyddech yn bryssur ar eich gweddi?

Asune. *Ni allaf wadu mo hynny. Oblegit peth anhawdd tros ben yw gweddio heb draws-feddyliau.*

*Theol.* Gan hynny (wrth eich cyfaddefiad eich hûn) chwi â dorrasoch yr ail gorchymmyn, yr hwn sy'n gorchymmyn yr iawn ddull, ar agwedd ar addoli Duw, nid amgen, megis y mae yn rhaid i ni addoli Duw; felly y mae yn rhaid gwneuthur hynny mewn ffydd, carriad, zêl, a phurdeb: felly yma yr ydych yn euog hefyd; o herwydd pan weddioch fod eich meddwl ar bethau eraill, ac nad ydych yn gweddio mewn diragrithrwydd, a gwirionedd.

Heb law hyn: mi a fynnwn gael gwybod gennych

gennych a dyngasoch chwi erioed i'ch ffydd, neu i'ch gwirionedd, neu ir Arglwyddes Fair, a'r cyfryw lwon eraill.

Asune. *Do myn Mair, mi a'i gwneuthum: y mae yn rhaid i mi gyfaddeu.*

*Theol.* Nid rhaid amgen tystiolaeth: eich atteb eich hûn a brawf hynny, canys llw yw eich atteb: yma gan hynny yr ydych chwi yn euog, oblegid eich bod yn tyngu i eulynnod. Ymhellach gofyn yr wyf i chwi, a ymdeithiasoch erioed i ffeiriau, neu i farchnadoedd ar y dydd Sabboth, neu a wnaethoch ddim masnach, na theithiau, na chwedleua am achosion bydol, drwy esceulusso pethau crysyddol?

Asune. *Do, Duw a faddeuo i mi; mi ai gwneuthum.*

*Theol.* Yna euog ydych o dorri y pedwerydd gorchymmyn, yr hwn sydd yn gofyn gennym tan boen marwolaeth, dreulio y dydd Sabboth mewn dlêd-swyddau sanctaidd, a chrefyddol yn gyffredin, ac yn neillduol, yn yr eglwys, a chartref. Hefyd gofyn yr wyf, a ydych yn addyscu eich gwraig, eich plant, a'ch gwasanaeth-ddynion mewn gwir wybodaeth o Dduw, ac yn gweddio gyd ag hwynt, a'i nad ydych?

Asune. *Mi a wn y mynnech i mi ddywedyd y gwirionedd; rhaid i mi gyfaddeu nad ydwyf, ac na fedraf ei wneuthur.*

*Theol.*

*Theol.* Yna yr ydych chwithau yn euog o dorri y pummed gorchymmyn, yr hwn sy 'n gofyn pob math ar ddyledion gan y rhai goruchaf, tu ag at y rhai isaf, a chan y rhai isaf tuag at y rhai goruchaf. Ac or dyled-swyddau hyn, gweddi ac addysc ŷnt ran, a pherthynas. Ym mhellach yr wyf yn gofyn, a fuoch erioed yn ddig, a'i na buoch.

Asune. *Bûm, ganwaith yn fy nŷdd, ac yr wyf yn meddwl nad oes neb na ddigia ryw amser, neu ei gilydd, yn enwedig pan rodder iddynt achos.*

*Theol.* Chwithau yn hynny, â droseddasoch y chweched gorchymmyn, yr hwn sydd yn gofyn gennym ymogelyd rhag llid, digter, drwg-fwriad, awydd i ddial, a phob rhyw fâth ar rag-cennadon llofruddiaeth. Etto gofyn yr wyf, a edrychasoch erioed ar wraig gan ei chwennychu yn eich calon?

Asune. *Do, canys yr wyf yn tybied, nad oes neb yn ddiangol oddiwrth ddrwg-feddyliau ffordd honno. Mi a dygaswn fod yn rhŷdd i ddyn feddwl y peth a fynnai, ac nad oedd hynny bechod.*

*Theol.* Nac ydyw: Nid yw meddyliau yn rhŷdd o flaen Duw; oblegid fe a edwyn Duw ein meddyliau, ac a'n cospa, a'n hola, ac a'n condemnia am feddyliau. Ni ŵyr dynion feddyliau ei gilydd, ac am hynny

ni

ni allant wneuthur cyfreithiau yn erbyn meddyliau; Eithr ymae Duw yn gwybod ein amcanion dirgelaf, o herwydd hynny y gwnaeth efe gyfreithiau yn eu herbyn, ac a'u barna hwynt.

O hyn y casclaf, os meithrinasoch yn eich calon feddyliau godinebus, chwi a dorrasoch y seithfed gorchymmyn, yr hwn sydd yn gwahardd pob meddyliau dirgel, yn cymmell ac yn annog i odineb. Eithr etto mi â fynnwn wybod â ddarfu i chwi erioed chwilenna, a darnguddio, neu ledratta rhyw fân bethau oddiar eich cymmydog, megis porfa, iair, gwyddau, cwningod, afalau, a'r cyffelyb?

Asune. *Ni allaf ymddiheuro oddiwrth y pethau hyn: Oblegid mi a dygaswn nad oedd y rhain yn bechod, nac y craffei cyfraith Dduw arnynt.*

*Theol.* Yna, chwi a dorrasoch yr wythfed gorchymmyn, ac ydych yn euog o farwolaeth dragwyddol. Oblegid y mae Duw yn y gorchymmyn hwn yn rhoi arnom siars i gymmeryd cymmaint gofal am dda ein cymmydogion, ac am yr eiddom ein hunain, ac na bo i ni wneuthur cam ag hwynt mewn fford yn y byd, ar feddwl, gair, neu weithred.

Am hynny y condemnir yma bob mâth ar dwyll, lledrat, trais, a phôb camwedd ynghylch

ynghylch da ein cymmydog. Ym mhellach gadewch i mi ofyn i chwi a ddywedasoch erioed gelwydd, neu ragrith.

Asune. *Do, yn wir.*

*Theol.* Wrth hynny chwi â droseddasoch y nawfed gorchymyn: yn yr hwn y mae Duw yn gofyn gennym wrth ddwyn testiolaeth, ac ar achosion eraill, adrodd y gwir yn ddiragrith, o'n calonnau, heb na chelwydd, na choluro.

Yn ddiweddaf oll, moeswch glywed, a ddeisyfiasoch eirioed yn eich calon ddim ar nad oedd eiddoch eich hûn: megis tŷ eich cymmydog, neu dîr, neu wartheg, neu ddefaid, gan ddatcuddio wrth hynny anfodlonrhwydd eich calon i'r hyn a oedd eiddoch eich hûn?

Asune. *Yr wyf mor feius yn hyn, ac mewn dim arall. Oblegid (Duw a faddeno i mi) mynych y deisyfiais, ac y chwennychais hyn neu'r llall, ar nad oedd yn eiddof fy hun, ac felly a ddangosais fy anfodlonrhwydd.*

*Theol.* Wrth hyn, yr wyf yn deall (a chwi eich hun yn cyfaddef) eich bod yn euog o dorri yr holl orchymynion.

Asune. *Y mae yn rhaid i mi gyfaddef hynny. Oblegid yr wyf yngweled yr awrhon ynghylch yr achosion hynny, mwy nac a welais erioed o'r blaen. Ni chlywais i gymmaint a hyn erioed er pan i'm ganwyd,*

ac

*ac ni ofynwyd i mi y fath gwestiwnau, ac yr ydych chwi yn eu gofyn. Mi a dygaswn nad oedd lawer or pethau yr ydych chwi yn eu gofyn, yn bechodau.*

*Theol.* Myfi a allaswn eich gorchfygu chwi mewn llawer o bethau neillduol eraill, ym mhâ rai yr ydych chwi bôb dydd, a phôb awr yn torri cyfraith Dduw: Eithr fy mwriad i oedd yn vnig rhoddi i chwi brawf or troseddau hyn, ac wrth hynny dangos i chwi beth goleuni tu ag at ddalltwriaeth y gyfraith. Mal y gallech wrth hynny eich adnabod eich hûn yn well, a dirnad eich cyflwr o flaen Duw, a thrwy yr ychydig hynny fwrw amcan ar fwy o lawer.

Asunet. *Yn awr y gwelaf yn eglur gael o honof fy nhwyllo, ac nad wyf yn gystal fynghyflwr oflaen Duw, ag y dygaswn: yr wyf yn gweled hefyd fod miloedd oddi ar y ffordd, y rhai a'u tybiasant eu hunain yn dda eu helynt o flaen Duw: ond mewn gwirionedd y maent mewn dallineb, ac anwiredd. Eithr Duw a gymmero drugaredd arnom. Mi a welaf yr awr hon yn amlwg fy modym mhell oddiwrth gadw'r gorchymynion. Ac yr wyf yn tybied, nad oes neb yn eu cadw.*

*Theol.* Chwi a ellwch dyngu hynny, mi â attebaf. Oblegid ni allodd erioed na *S. Paul*, na *Dafydd*, neu'r Fair forwyn gadw vn or gorchymynnion.

Y mae yn dda gennif eich gweled yn cra-ffu ar gyfraith Dduw, ac yn blasu peth ffordd honno. Oblegid cyn belled ag y mae dyn yn gwybod y gyfraith, a chanddo gy-farwyddyd ynddi, hyd hynny y mae yn ad-nabod ei gyflwr ei hûn: ond y neb nid ed-wyn y gyfraith, nid edwyn mo honaw ei hûn.

Canys y gyfraith yw'r drŷch yn yr hwn y gwelwn pa sut ydym o flaen Duw. Yr A-postol â dywed: *Trwy'r gyfraith y mae ad-*
Rhuf. 7. 7 *nabod pechod:* o herwydd hyn y rhai nid oes ganddynt wybodaeth o'r gyfraith, ac nid ydynt yn eu canfod eu hunain yn y drŷch hwn, a bechant ganwaith yn y dydd, heb wybod eu bod yn pechu, ac am hynny nid ydynt yn ymofidio am eu pechodau: Canys pa fodd yr ymofidia neb am y peth nis gŵyr oddiwrtho.

Ond etto rhoddwch gennad i mi attolwg i ofyn i chwi rai chwestiwnau y chwaneg, ynghylch prif-byngciau gwir Grefydd: er mwyn gallu o honoch drwy ymwrando a'ch anwybodaeth, a'i adnabod, ymddarostwng am dano, ymofidio mewn prŷd, a cheisio gwir wybodaeth o Dduw.

Eithr yn gyntaf mi â ofynnaf beth, neu ddau i Antilegon; o herwydd fy môd yn ewy-llysio adnabod pa fesur gwybodaeth sydd ganddo ef yngwyddorion y ffydd. Dywed-wch i mi Antilegon, o ba herwydd y

cnawdi-

cnawdiwyd Grist (neu y beichiogodd ei fam arno) drwy'r yspryd glân?

*Antil.* Myfi â fedrwn eich atteb, eithr ni wnaf ond peidio: pa awdurdod sydd gennych i'm holi? Dangoswch eich warant, a phan ei gwelwyf mi a'ch attebaf: hyd hynny nid oes i chwi a wneloch i'm holi i; ymbrysurwch ynghylch eich matterion eich hûn.

*Theol.* Myfi â welaf eich bod chwi nid yn unig heb wybodaeth, ond yn * llêd-ffrom, ac yn gyndyn hefyd, ac yn gwrthod eich addyscu. Am hynny mi a'ch gadawaf i Dduw, ac i'ch cydwybod lygredig eich hûn. Eithr attolwg i chwi *Asunetus* attebwch chwi i'r cwestiwn hwnnw. Beth dybygwch: pa ham y caed Crist trwy'r yspryd Glân?

* Neu yn siomgar.

Asunet. *Coeliwch fi Syr, cwestiwn caled yw hwnnw; gofynnwch hwnnw i ryw ŵr call. Canys ni fedraf fi eich atteb.*

*Theol.* Beth â ddywedwch am hyn: pwy ydoedd fam Crist?

Asunet. *Y fendigedig Fair forwyn.*

*Theol.* Pwy oedd Pontius Pilat?

Asunet. *Nid oes gennif fawr wybodaeth, gwr anllythyrennog ydwyf, Ond os mynnwch i mi ddywedyd fy meddwl, tybied yr wyf mai'r Cythraul ydoedd. Oblegid pwy, oni byddei Gythraul, a fwriei ein Achubwr Crist i farwolaeth?*

*Theol.*

*Theol.* Beth yw 'r Eglwys lân Gatholic, yr hon a ddywedwch eich bod yn ei chredu ?

Asunet. *Cymmun y Saint, maddeuant pechodau.*

*Theol.* Pa beth a weddiwch am dano, pan ŷch yn dywedyd, deued dy deyrnas.

Asunet. *Erfyn yr wyf gael o bawb o honom o'i râs ef, iw wasanaethu fel y dylem, a'n cadw ar feddwl da tu ag at Dduw; a chofio Duw yn fynych : Canys y mae rhai (Duw a'n cadwo ni) heb ganddynt ddim ond diafol, ar eu tafodau ac yn eu meddwl beunydd : nid ydynt yn gwneuthur dim yn enw Duw.*

*Theol.* Pa beth yw Sacrament ?

Asunet. *Swpper yr Arglwydd.*

*Theol.* Pa sawl Sacrament sydd ?

Asunet. *Dau, bara a gwîn.*

*Theol.* I ba beth yr ydych chwi yn derbyn y Sacrament ?

Asunet. *I dderbyn fy mrhynwr.*

*Theol.* Beth yw iawn-arfer y Sacrament ?

Asunet. *Corph, a gwaed Crist.*

*Theol.* Pa lesâd, a chyssur, a geir oddiwrth y Sacrament ?

Asune. *Arwydd yw farw o Grist drosom.*

*Theol.* Ni fedrafi amgen na gressynu trosoch o herwydd eich annwybodaeth. Mor ddiwin anguriol ydyw. Eich attebion ydynt

ydynt ddirefwm, ac yn arwyddocau fod ynoch ddallineb rhyfedd, ac an-neall mewn perthynas crefydd.

Y mae yn ddrŵg gennif nad wyf yn cael ennyd yn awr, a hamdden i ddangos i chwi eich ffolineb a'ch dygn annwybodaeth, ac i ofod o'ch blaen fynwyr, a dalitwriaeth pyngciau y ffydd, Gweddi yr Arglwydd, y Sacramentau, ar holl fylfeini eraill o grefydd Griftianogawl.

Afunet. *P a ffordd a welych chwi yn dda i mi ei chymmeryd i ymadael ag anwybodaeth, ac i gyrhaedd gwir wybodaeth o Dduw?*

*Theol.* Yn wir, mi a ewyllyfiwn i chwi fod yn ddyfal i wrando Pregethau, ac i ddarllain yr Scrythyrau ynghyd a gweddi, a goftyngeiddrwydd. Hefyd ymarfer a llyfrau gwyddorion y ffydd, ar cyffelib lyfrau da, a fedroch eu cael, a'u deall, drwy ymofyn am danynt yn chwannog, a'u chwilio yn ddiwid pan eu caffer. Os yr helynt yma a gymmerwch, chwi â ellwch drwy râs Duw o fewn ychydig amfer, gafclu mefurfyrn helaeth o wybodaeth yn y pyngciau pennaf o Grefydd griftianogawl.

*Phila.* Ni choeliafwn byth fod neb cyn belled oddiwrth wybodaeth, ac y gwelaf yr awr-hon fod y gŵr yma.

*Theol.* Oes yn ddiau. Y mae llawer mîl o'r un cyflwr ac yntef. Ac myfi a adwaen lawer o'm cydnabyddiaeth a rônt yr vnrhyw

rhyw attebion: neu o'r hyn lleiaf, heb nemmawr ragoriaeth rhyngddynt.

*Phila.* Mi a attebaf i chwi, pe gofynnasech iddo ynghylch gwartheg, neu ddefaid, neu brynu tîr, neu gymmeriadau ar dir, neu ryw beth bydol arall, chwi ai cawsech ef yn ddigon adrybelydr, trwyadl, a pharod yn ei attebion.

*Theol.* Yr wyf finneu yn coelio hynny. Canys ymddiddenwch a dynion bydol, am achosion bydol, a'u hattebion a fydd digon hyfedr, hwy a ymgommiant ynghylch y matterion hynny yn gymmen, ac yn straeth ac hyd cydol y dydd.

Oblegid y mae ganddynt stremp fawr o gyfarwyddyd mewn pethau bydol: a'u diddyrrwch mwyaf yw siaradach am danynt, yn ddi flin, ac yn ddiludded, canys dyna eu llawenydd, eu bwyd, a'u diod. Ond deuwch i chwedleua a hwynt am fatterion Duw, megis am ffydd, am edifeirwch, am adenedigaeth, ar cyffelyb, ac chwi ai cewch hwynt yn fwyaf pobl yn y byd eu hanneallgarwch, a'u hansynwyroldeb. Oblegid pan sonier am y pethau hyn, pendafadu a synnu a wnânt, fel na wyddant beth y maent arno, na pha beth a ddywedant.

*Phila.* Yn fy marn i, y mae cyflwr y cyffelyb ddynion yn ressynol, ac yn enbaid, ac felly y mae helynt y dyn hwn

hefyd,

lefyd, os Duw nis tynn ef allan o honaw ar fyrder.

*Theol.* Diammeu yw hynny. Canys Duw â ddywaid. *Fy mhobl a ddifethir o eisieu gwybodaeth.* Ein Harglwydd Jesu a ddywed mai annwybodaeth yw achos pob amryfusedd. *Yr ydych yn cyfeiliorni gan na wyddoch yr Scrythyrau,* Yr Apostol a ddywaid fod anwybodaeth yn dieithro oddiwrth fuchedd Dduw: Hosea 4. 6. Mat. 22. 29.

Oblegit (medd efe) *y Cennedloedd a dywyllwyd eu deall, wedi ymddieithro oddiwrth fuchedd Dduw, trwy'r annwybodaeth sydd ynddynt, trwy ddallineb eu calon.* Felly amlwg yw nad mam dwywolder yw anwybodaeth megis y taera y Papistiaid, ond mam cyfeiliorni, amryfusedd, marwolaeth, a destryw, fel y dywaid yr Scrythur. Ein Harglwydd yn rhag-weled y peryglon tramawr a ddeuai o anwybodaeth (pa fodd yr ydoedd yn dwyn ganddo filoedd i uffern) sydd yn cynghori pawb *i chwilio yr Scrythyrau,* y rhai a destiolaethant o honaw ef, mal y gallont ddiangc allan o enbeidus lyngclyn anwybodaeth, lle y mae llaweroedd yn boddi. Eph. 4. 18. Ioan 5: 39.

Am hynny y gwŷr beneddigaidd hynny o *Berea* a ganmolir gan yr Yspryd Glan, o herwydd iddynt *dderbyn y gair a phob parodrwydd meddwl, a chwilio yr Scrythyrau beunydd a oedd y pethau hynny felly.* Act 17. 11.

Oh

*Ob* gan hynny nad ymgeisiai dynion yn ddifrifol, a hynny mewn prŷd, a gwybodaeth o Dduw: Ac fel y dywed y Prophwyd: *Ceisio yr Arglwydd tra y caffer ef, galw arno pan fai yn agos attynt.* Esay. 55. 6.

*Phila.* Ma á welaf fod pob anwybodaeth ym matterion y ffydd yn beryglus; ond yr wyf yn tybied fod anwybodaeth gildynnus yn berycclaf or cwbl.

*Theol.* Diddadl yw fod anwybodaeth gildynnus, ac anhydyn yn argoel hynod, ac yn brawf anwrthcb o farwolaeth dragwyddol. Canys peth dychrynllyd, ac ofnadwy ydyw i ddynion wrthod addysc, diystyru cynghorion, caledu eu calonnau, a chau eu clystiau, a'u llygaid yn erbyn Duw. Dymma y râdd eithaf o'n han-niwyg a'n afreolaeth ni.

*Phila.* Adolwyn, pa beth â elwch chwi yn galedrwydd calon?

*Theol.* Calon galed yw'r hon ni chynhyrfo a thrugareddau Duw, ni ddychryno rhag ei farnedigaethau. Nid ofno ei gyfraith, ac ni wnelo gyfrif o'i Efengyl: Nid attelir á bygythion, ac ni feddalhao â cheryddon; yr hon nid yw ddiolchus am fendithion Duw, nac vfydd iw gynghorion; â greulono tan ei gerydd, ác â fyddo afreolus tan ei garedigrwydd: digywilydd mewn brynti, á diarswyd mewn perigl: Anfwyn wrth

ddynion

ddynion, ac anwir tu ag at Dduw: anghofus am â fu, efceulus am fydd, a diddarbodus ac efceulus am a ddêl.

*Phila.* Mynegwch etto yn eglurach gyflwr dynion anwybodus, a chalon-galed, â dangofwch mor refynol yw.

*Theol.* O bydd dyn ai lygaid yn ddeillion, ni â dofturiwn wrtho, ac â ddywedwn: dyna ddynan dall: ond os bydd efe yn ddall ac yn fyddar, ni â dofturiwn wrtho yn fwy o lawer, gan ddywedyd, Och y druan flined yw ei gyflŵr: eithr o bydd efe yn ddall, yn fyddar, ac yn fûd, oni bydd gennym mwy etto o dofturi wrtho? Oh daccw'r dyn mwyaf ei ofid yn y byd, pwy ne byddei flîn ganddo ei weled?

Pa faint mwy tofturi a ddylid ei gymmeryd tu ag at y rhai o ran eu heneidiau ydynt ddeillion, a byddair, a mûd. Oblegid clefydau yr enaid fy fwy peryglus, a mwy tofturus na chlefydau y corph. Oni byddei ddrŵg gan galon dyn weled oenyn truan yn fafn y llew, ac ynteu yn ei larpio, ac yn ei ddryllio, ac yn tynnu allan ei berfedd? Dyna gyflwr dynion heb wybodaeth ganddynt. Y maent ynghrafangau Diafol, ac ynteu yn eu baeddu, ac yn rhwygo eu heneidiau hwynt megis yn llarpiau, fel y mynno ei hûn. Oh na bai gennym lygaid i weled y pethau hyn, a chalonnau i ymwrando â hwynt, a* nwydau i dofturio am danynt, io drwy alar, a dagrau.

* A chalondid.

Phila.

*Phila.* Nid oes nemmawr yn tybied fod dynion anwybodus yn gynddrŵg eu cyflwr, ac y dywedwch. Canys meddwl y maent eu bod yn escusodol o herwydd eu hanwybodaeth. A rhai a ddywedant mai dâ ganddynt leied yw eu gwybodaeth: Oblegid pe baent yn *gwybod llawer o ewyllys eu Harglwydd, ac heb ei wneuthur, hwy à gurid* â *mwy o ffonnodiau.* ond yr awr hon gan na wyddant, meddwl y maent fod pôb peth ar y gorau.

*Theol.* Duw â orchymynnodd iw bobl offrymmu aberth tros eu pechodau o anwybodaeth: Am hynny pechod yw anwybodaeth, ac nid yw yn escusodi neb. Ac am gyflwr eu heneidiau o flaen Duw tra gressynol yw, pe gallem ganfod eu heneidiau, fel y cantyddwn eu cyrph.

Lev. 4. 2. 13, 14.

Canys yn ddiddadl, y mae llaweroedd yn ymhoiwi mewn melfed, a sidan, yn wychion, ac yn yn ddillin mewn golwg, ond oddi-mewn y maent yn llawn budreddi, a phechod. Y mae ganddynt gyrph glândeg, a hardd-wych, ond eneidiau anferth, duon, a sothachlyd. pe gallai ddyn graffu ar eu eneidiau fel y gellir craffu ar eu cyrph, efe â gauei ei ffroenau rhag arwynt eu dryg-sawyr. Oblegid y maent yn drewi o bechod, yn ffroenau Duw, ac Angelion, a dynion dâ.

*Phila.* Wrth hynny, deall yr wyf wrth eich

eich ymadrodd, mai ofnadwy yngolwg Duw yw cyflur dynion anwybodus, ac anghrefyddol; ac mai rhan pob dyn da yw greſſynu, a gweddio troſtynt.

*Theol.* Pe bai deu-ddyn dall, a byddeir yn rhodio ar hyd ffordd ſathredig, a honno yn tueddu tu ag ryw ddyſn-bwll mawr, yn yr hwn y byddent dybygol i ſoddi, os aent rhagddynt: A bod deu-wr o hirbell yn lleſain arnynt, nad âent yn eu blaen rhag eu boddi: Er hynny hwynt hwy heb na gweled, na chlywed vn-dyn, a âent rhagddynt, ac a ſoddid; oni byddei hyn olwg toſturus edrych arno? Yr vn ffunyd y mae yn digwyddo i bob enaid diwybod, dall, a byddar yn y byd: y rhai nid ydynt yn bwrw eu perygl on, ond yn cerdded rhagddynt yn hyf iw deſtryw.

Ac er vched y mae Pregethwyr yr Efengyl yn gweiddi arnynt yn grôch, er mynyched y rhônt iddynt rybudd, a chyngor i ymogelyd; etto gan eu bod yn ddeillion oddimewn ni welant ddim, ac yn ſyddariaid yſprydol ni chlywant, ac am hynny yr ânt ymlaen yn eu pechodau, au hanwybodaeth, hyd oni ſyrthiont yn ddiſymmwth i bwll vffern.

Beth. pe bai ddwy fyddin yn goſod câd ar faes yn erbyn eu gilydd ar waſtadedd; a bod rhyw ddyn yn ſefyll ar goppa bryn vchel yn gyſagos attynt, ac yn gweled y

cwbl; a bod yn canfod miloedd, a myrddiwn yn cael y gwaethaf, ac yn cwympo or ddeu-tu cyn amled ar cenllysc ar y ddaiar, ar holl wastadedd yn nofio, ac yn ffrydio o waed, ai fod hefyd yn clywed griddfan y milwyr briwedig, a chwynfanus ocheneidion, ac ebychau llawer Capten, a phen-ciwdod yn trengu: oni byddei yr olwg hon yn ddolur yn ei galon ef? Yn yr un modd pan welom ni Satan yn clwyfo, ac yn llâdd mîl filoedd o eneidiau, onid yw hynny yn olwg mwy erchyll, a galarus? Ac oni ddylei bod gofid yn ein calonnau o edrych arno? Eithr fywaeth nid oes gan ddynion lygaid i grâff-fynied y pethau hyn.

Ac etto diogel yw fod Satan beunydd mewn dull ofnadwy yn llâdd anneirif o eneîdiau. Mal hyn y dangosais i chwi gyflwr tosturus dynion annwybodus, ac anghrefyddol.

*Phila.* Os felly y mae'r peth: Chwy-chwi gwenidigion a phregethwyr yr Efengyl, y rhai a gymmerasoch arnoch ofal, a fiars eneidiau, rhaid oedd i chwi edrych arnoch eich hunain, a gwneuthur eich goreu i achub eneidiau: ac megis bugeiliaid da mewn mawr dosturi, ymegnio iw tynnu hwynt allan oddi tan balfau y llew rhuadwy hwn, fy'n myned beunydd oddi-

amgylch,

amgylch, gan geisio pwy a allo ei lyngcu.

*Theol.* Fe berthyn i ni yn siccr ofalu am y peth hyn yn ddyfal ac yn ddyfrifol, fel y bo i ni atteb yn ofnadwy ddydd y farn: Canys nid peth yscafn a gymmerasom yn llaw, sef gofalu am y praidd â brynodd Crist ai waed. O Dduw na pheidiem ag ymryson ynghylch matterion eraill, ond ymryson o honom bawb ynghylch hyn, nid amgen pwy â ddichon dynnu mwyaf, allan o deyrnas Satan, pechod, ac annwybodaeth: pwy a ddichon ennill mwyaf o eneidiau, a phwy a ddichon wneuthur mwyaf gwasanaeth i'r eglwys.

Hyn yn wir a fyddei ymryson odieth, ac mi a ddymunwn ar Dduw pe gallem vnwaith yn gyttun a'u gilydd, ddechreu ar hynny, ac ag vn galon ac egni ymwascu ynghyd i adeiladu tŷ Dduw. Os trwy ein ffoledd ein hunain y rhwystrwyd y gwaith, neu o gwnaed vn adwy ynddo, moeswch i ni mewn doethineb, a chariad ei chau i fynu drachefn: o bu dim gogwydd, a diofalwch, moeswch i ni ddadebru, a'n cyffroi ein hunain, fel y gallom gyffroi eraill hefyd.

Byddwn awyddus, a gwresog yn yr yspryd, fel y gallom trwy râs Duw fyw-

R 2 ioghau

ioghau eraill, a deffrown yr oes farwaidd a chyfcadur hon yr ydym yn byw ynddi; felly y caiff Duw ei ogoneddu, ei eglwys ei hadeiladu, ei Saint eu cyffuro, ei bobl eu hachub, ei orfeddfa ei mawrygu, a theyrnas y Cythraul ei gorthrechu.

*Phila.* Pa ffordd oreu dybygwch chwi i ddwyn i ben y peth a ddywedafoch.

*Theol.* Peth yw hwn fy raid i ni Gweinidogion, a Phregethwyr yr Efengyl gymmeryd poen ynddo. Oblegid yma y gofynnir gennym fod yn ddyfal, ie ac yn dra dyfal: Canys ymae'r bobl ym mhob man, heb ddim gwybodaeth ganddynt.

Rhai fy fel cerrig mor bengaled, nid a dim addyfc ynddynt: eraill fy yn gildynnus, ac yn anynad: rhai â dderbyniant yr athrawiaeth, ond ni fynnant ymarfer â hi: eraill a ymroant i ymryfon, ac ymgecru: yn gymmaint ac mai gwell fyddei i ddŷn gymmeryd arno gadw bleiddiau, ac eirth, na gofal eneidiau.

Canys anhawfaf peth yn y byd yw diwygio an-niwig, ac afreol dynion, a'u dwyn i fewn trefn; tynnu eineidiau dynion allan o deyrnas Satan, a'u dwyn at Dduw; gwaith anorphen yw, a thrafferth anfeidrol, a ffwdan boenus, yr wyf yn crynu feddwl am dano.

Oblegid y mae dynion mor gyndyn, ac anyftowallt, ac nad ymrônt iw haddyfcu

mewn

mewn dim tresn dda: ni fynnant fod wrth lywodraeth Dduw, nai ffrwyno ai air ef. Dilyn a wnânt eu rhwysc eu hunain, a rhedeg ar ôl eu trachwantau, a'u digrifwch: gwingo, a thaflu os argyoeddir: ffrommi, a chynddeiriogi o cheisir eu hatal, a lluddias iddynt, eu hywyllys, eu meddylfryd, a'u rhydd-did.

Hwy a fynnant gael eu meddwl a dilyn eu hên arfer, dywedwch chwi a fynnoch, a gwnewch a alloch.

Onid gwaith llafurus, dybygwch chwi, yw cymmynu, a naddu y cyfryw ddefnydd-goed, mor llawn o fôn-geinciau, a chwarennau? Ond blin gan y saer feddwl am dano? Ac onid gofid calon fyddei fyned ynghylch y gwaith? Canys mor anhawdd yw diwygio y fath beth ac fydd mor anniwygus.

*Phila.* Gadewch i hynny fod, ni ellwch chwi ond gwneuthur eich goreu a gadael ar Dduw y llwyddiant oddiwrth y gwaith. Ni ellwch chwi ond plannu, a dwfrhau, a rhodded Duw y cynnydd. Chwychwi Gweinidogion y llythyren, ac nid yr yspryd ydych. Bedyddio yr ydych a dwfr, ac nid ar Yspryd Glân.

Gan hynny os pregethwch chwi yn ddyfal, drwy gynghori, rhybuddio, ac argyoeddi, ar gyoedd, ac yn neillduol: gan fwria-

du drwy bob esampl o fuchedd dda, a cheisio a phob awyddfryd, gofal, a chydwybod wneuthur eich goreu, am a alloch, iw dychwelyd hwynt oddiar eu ffyrdd drygionus; yn fy meddwl i yr ydych chwi yn ddiangol, ac yn rhŷdd ddieuog oddiwrthynt, er parhau o honynt hwy yn wargaled, ac yn wrthnyssig.

Oblegit chwi â wyddoch yr hyn a ddywed yr Arglwydd drwy ei Brophwyd: *os chwi ai cynghorwch, ac ai rhybuddiwch, yna yr achubwch eich hunain, a'u gwaed hwynt a ofynnir ar eu dwylo eu hunain.* Ezec. 33. 4, 9.

*Theol.* Chwi a ddywedasoch y gwir. A chan fod yn rhaid i ryw rai gymmeryd arnynt y gofal trwm hwnnw, y ffordd oreu i ni, yw ceisio eu haddyscu hwynt yngwyddorion y ffydd, a gwneuthur hynny mewn môdd eglur a hawdd ei ddeall.

Oblegid llesâd mawr a wnaed yn fynych, ac a wneir rhag llaw, lle y cymmerer y ffordd honno: dyna'r modd enwedigol i weithio ar annwybodaeth y gwerin bobl.

Ac i hyn y mae yn rhaid i ni gweinidogion Crist ymfodloni i ymostwng, ac i ddyscu y bobl gyffredin truein yn y dull rhwyddaf, a hawsaf iw dwyn hwynt i gael peth pereidd flâs, a melus-chwaith ar brif byngciau Cristianogawl grefydd, ni wasanaetha

naetha i ni fod yn wladaidd gennym ail-adrodd, a mynych ddywedyd, a manwl-ſmalhâu iddynt yr vn peth vgainwaith trosto a throſto drachefn *yn boenus, a daw budd o boen.* Dihar. 14. 23.

*Llin ar lin, llin ar lin, ychydig yma, ac ychydig accw, gorchymmyn ar orchymmyn*, Fel y dywaid y Prophwyd. *Eſay* 28. 10.

Mi â wnn yn ddigon da, nad oes dim mor wrthwynebus gan vn â fyddo yn yſcolhaig trwyddo, ac yn ŵr o ddŷſc diſethedig, na gwneuthur felly; fel y troid vn yn ôl i ddyſcu ei ar ſi, ni ddichon rhai mewn modd y byd ei oddef.

Ond yn wir ddigelwydd myfi â welaf yr awr-hon, yn ôl hir brawf, o mynnwn weithio dim lleſâd ar yr eneidiau diſedr, anwybodus hyn, mai rhaid yw i ni gymmeryd poen ffordd honno. Oblegid ein coron, a'n gogoniant ni yw ynnill eneidiau, pa fodd bynnag yr ymoſtyngom i hynny.

Gan hynny byddwn ni fodlon i ymddaroſtwng, fel y derchafer Griſt. Gwnawn bob peth mewn gwir gariad i Griſt, yr hwn â ddywedodd deirgwaith ôl yn ôl: *Os wyt yn fyngharu i, portha, portha, portha, fy nefaid*, dangoſwn deſtiolaeth o'n cariad tu ag atto drwy borthi ei braidd ef. Gwnawn bob peth mewn gwir gariad, a mawr doſturi tu ag at yr eneidiau cyfeiliornus Ioan 21. 15.

 truein.

truein. Fe à ddywedir dosturio o'n Harglwydd Iesu wrth y bobl, pan eu *cawsu megis defaid ar wasgar heb fugail arnynt.* Math. 9. 36.

Ymdosturiwn ninneu yn yr vn ffunyd, ac ymofidied ein calonnau weled cymmaint o ddefaid Crist yn crwydro ar fynyddoedd, ac yn anialwch y byd hwn, yn ymgrippio a phob mieri, ac ynglŷn ym mhôb perth, yn enbeidus rhag eu llarpio gan y blaidd. Mal hyn y dangosais i chwi, pa ffordd yn fy marn i, sydd oreu ei chymmeryd i ryddhau eneidiau anwybodus allan o gaethiwed Satan, a phechod.

*Phila.* Megis yr adroddasoch pa drefn oreu ei dilyn o'ch rhan chwi y Gweinidogion, a Phregethwŷr yr Efengyl, felly dangoswch attolwg i chwi, beth sydd oreu i ninneu ei wneuthur, y rhai ydym bobl Dduw.

*Theol.* Y cyngor goreu à fedraf fi ei roddi i chwi, pe bai am fy enioes, yw ymarfer llawer a gair Duw, yn gystal ei wrando, ei ddarllain, a myfyrio ynddo, a cheisio byw hefyd tan weinidogaeth yr Efengyl, lle y bo traethu y gair yn bur: A gwneuthur cydwybod o fyw yn y cyfryw fan: gan eich cyfrif eich hun yn ddedwydd o'i gael, er bod arnoch eisieu pethau eraill: ac yn annedwydd o byddwch hebddo, er cael o honoch bob pethau eraill.

Oblegid

Oblegid y gair yw'r perl gwerthfawr, y tlŵs nid oes ei gyffelyb. I brynu yr hwn y cynghora yr Arglwydd Iesu *werthu cymmaint oll ac a feddwn, yn hyttrach na bod hebddo.* Math. 13.44.46.

Drachefn yr vn rhyw gyngor â ddyry ein Iachawdwr Crist i Eglwys *Laodicea* yn y geiriau hyn. *Yr wyf yn dy gynghori i brynu gennif aur wedi ei buro trwy dân fel i'th gyfoethoger, a dillad gwynion fel i'th wisger, ac fel nad ymddangoso gwarth dy noethder di: îra hefyd dy lygaid ag eli llygaid fel y gwelech.* Lle y gwelwch fod gair Duw wedi ei gyffelybu i'r aur gwerthfawroccaf, a'r hwn i'n gwneir yn gyfoethogion ysprydol: ac i wiscoedd disclair, ar rhain y gwiscir ein eneidiau noethion: ac i eli llygaid, ar hwn yr iacheir ein dallineb ysprydol. Fe a ddŵg *Crist Iesu* hefyd ar gôf i ni (ai gyngor ef sydd oreu) brynu o honom y pethau hyn, beth bynnag à orfyddo ei dalu am danynt. Y cyffelyb gyngor à rydd *Salomon* hefyd gan ddywedyd: *Pryn y gwirionedd, ac na werth ef.* Felly chwi a welwch y cyngor yr wyfi yn ei roddi i chwi, nid eiddof fy hun ydyw, ond cynghor *Iesu* ei hun, a *Salomon* ddoeth: a phwy a ddichon, neu â feiddia roi dim yn erbyn eu cyngor hwynt.

Dat. 3. 18.

Dih. 23. 23.

Afane. *Ai eich meddwl chwi ydyw fod*

*yn angenrhaid ymarfer à gwrando Pregethu y gair, oni wasanaetha ei ddarllain yn vnig?*

*Theol.* Mi à ddywedais i chwi or blaen fod darllain yn dda, yn fuddiol, ac yn angenrheidiol, ond er hynny nid yw ddigonol. Ni ddylem ni ymfodloni a hynny yn vnig: eithr y mae yn rhaid myned ym mhellach, a cheisio i ni ein hunain iawn bregethiad yr Efengyl, megis y môdd, ar cyfrwng mwyaf, a phennaf â ordeiniodd, ac a sancteiddiodd Duw i achub dynion. Fel yr yspyssir yn eglur at y *Corinthiaid.*
1 Cor. 1. 21. *O herwydd yn noethineb Duw nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw: fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb Pregethu gadw y rhai sy'n credu.* Y dalltwriaeth yw hyn. Pan na allai ddynion na thrwy ddoethineb naturiol, na thrwy ystyriaeth or creaduriaid, iawn gyrhaeddyd gwirddigonol wybodaeth o Dduw; yr Arglwydd yn ôl ei ddoethineb Nefol, ac anfeidrol, a osododd fôdd, a chyfrwng arall; nid amgen nac achub dynion drwy Bregethu: Yr hyn â gyfrif y byd yn ffolineb.

Ac wrth fyned rhagom, deliwch sulw nad dychymmig dynol yw Pregethiad y gair, ond dyfais Duw ei hûn, ac a ddaeth gyntaf allan o'i synwyr ef ei hûn, megis y ffordd nessaf, a chymhwysaf i achub e-

neidiau dynion. *Salomon* ddoeth yn llyfr ei ddiharebion á ddywed wrthym fod Pregethiad gair Duw (yr hwn y mae efe yn ei alw gweledigaeth, drwy arfer gair y Prophwydi, y rhai á alwant eu Pregethau yn weledigaethau) nid yn beth â ellid ei hepcor, neu á fai yn ein dewis ni, pa vn a wnaem ai ei synnu, ai peidio: eithr efe â ddywed ei fod yn beth angenrheidiol, ac anhepcor i fywyd tragwyddol.

Canys medd efe, *Lle ni byddo gweledigaeth y noethir y bobl:* Felly y darllenir yn yr iaith dadogawl: Ond yr hên gyfieithiad ai trŷ fel hyn: Lle ni *Pregethir gair Duw yno y metha'r bobl:* Neu y collir y bobl. Felly chwi â welwch fod prawf *Salomon* yn ddinam, yr hwn a ddywed i ni, fod y rhai oll nid oes ganddynt Bregethu, mewn perigl mawr o golli eu eneidieu. Oh na cheid gan ddynion goelio hyn. *S. Paul* hefyd a ddywed fod *ffydd yn dyfod drwy glywed* Pregethu y gair: Canys medd efe: *Pa fodd y clywant heb Pregethwr?* Os drwy glywed y gair y mae ffydd yn dyfod, yna myfi â ymresymma fel hyn: dim pregethu, dim ffydd: dim ffydd heb Grist: heb Grist, heb fywyd tragwyddol, oblegit ynddo ef yn vnig y mae bywyd tragwyddol.

Diha. 18.

Rhuf. 14, 1

Casclwn y cwbl ynghyd mal hyn. Cymmerwch

merwch ymmaith y gair, a chymmerwch ymmaith ffydd; cymmerwch ymmaith ffydd a chymmerwch ymmaith Grist: cymmerwch ymmaith Grist, a chymmerwch ymmaith fywyd tragwyddol. Felly y mae yn canlyn: cymmerwch ymmaith y gair, a chymmerwch ymmaith fywyd tragwyddol.

Neu, nyni a allwn eu darllain yn eu gwrthgefn mal hyn. Os mynnwn gael y Nefoedd, rhaid i ni gael Crist: Os mynnwn gael Crist rhaid yw cael ffydd: O mynnwn gael ffydd, rhaid yw cael Pregethu'r gair: yna fel hyn y canlyn: O mynnwn gael y nefoedd, rhaid yw cael Pregethu 'r gair. Felly mi â benglymmaf fy rheswm, fod Pregethu yn gyffredinol, a chan mwyaf yn llwyr angenrheidiol, ac yn anhepcor i fywyd tragwyddol. Fel y mae bwyd yn anhepcor angenrheidiol i gynhaliaeth ein cyrph: fel y mae porthiant yn anhepcor angenrheidiol i gynal bywyd anifeiliaid: A dwfr yn anhepcor angenrheidiol i achub bywyd pyscod.

Gan fod y pethau hyn felly, fe ddylid gwrando Pregethu'r Efengyl yn ofalus, ac yn gydwybodus. Ymarfer o fyned yn fynych i dŷ Dduw: a dywedyd gyd a *Dafydd. Vn*
Psal. 27. *peth a ddeisyfiais ar yr Arglwydd, hynny a ofynnaf: Sef cael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymweled ai deml san-*

*sanctaidd ef.* A dywedyd, *Vn peth sydd angenrhaid, ac felly dewis y rhan oreu, gyda Mair sanctaidd:* Luc. 10.42.

Gyd â'r clôff truan wrth *Bethesda*, disgwyl yr Angel i gynhyrfu y llyn, i gael ei iachau o'i glefyd. Nid amgen, disgwyl â ddylem am gynhyrfiad cyntaf Ysprydol ddyfroedd y bywyd, gan Bregethwyr yr Efengyl, fel yr iachaer ein afiechyd Ysprydol ni. Ioan 5.7.

Oblegid gwenidogaeth yr Efengyl yw'r bibell aur drwy'r hon y trosglwyddir i ni holl ddaioni Duw, holl brydferthwch Crist, a phob rhadau Nefol. Yr hyn beth â arwyddoceid gynt yn y gyfraith wrth y pomgranadau yn ymylau gwiscoedd *Aaron*: Ac wrth y clŷch aur rhyngddynt gylch ogylch, fel *clôch aur a phomgranat, clôch aur a phomgranat.* Y clŷch aur â arwyddocaent Bregethiad yr Efengyl: ar pomgranadau bêr-arogl marwolaeth Crist, gan arddangos wrth hynny y gwascerid ar lêd berarogl marwolaeth Crist, a'r holl lesâd o'i ddioddefaint ef, drwy Bregethiad yr Efengyl. Exod. 28. 33.

Mal hyn chwi â welwch os yw dynion ar fedr bod yn gadwedig, y mae yn rhaid iddynt wneuthur mwy cyfrif o Bregethiad yr Efengyl, nac y maent yn ei wneuthur, ac nid tybied (fel y gwna y rhan fwyaf) y gallant ei hepcor, a bod yn ddiogel en cyflwr.

Ac nid gwaeth gan rai fod hebddo na'i gael: Oblegid nid yw Pregethu ond eu cythryblu, ac aflonyddu ar eu cydwybodau: eithr gwae y cyfryw rai.

*Phila.* Er hynny nyni â welwn fod llawer o bobl ddrygionus, lle y Pregether yr Efengyl yn ddyfalaf; ar rhesymmau am hynny yn fy nhŷb i, ydynt ddau; Y cyntaf am fod Duw yn tynnu ymmaith ei Yspryd oddiwrth lawer pan fônt yn gwrando y gair, hyd onid yw eu gwrandawiad hwy yn anffrwythlawn, *a hynny am eu gwargaledwch.* Gen. 6. 3.

Y rheswm arall yw, am fod gan y Cythraul gant o ystrywiau i rwystro buddiol, ac iachwyawl weithrediad y gair, fel na wnêl ddim llesâd, ac na thyccia i laweroedd o bobl. Eithr chwy chwi Mr *Theologus* á fedrwch yn well na myfi, egluro y peth ymma: Attolwg i chwi gan hynny, adrodd eich meddwl am dano.

*Theol.* Dichellion y cythraul yn yr achos ymma sydd fwy o rifedi, a mwy cyfrwysddrŵg nac y byddo possibl i mi, nac i vn-gŵr arall allu eu datcuddio. Canys pwy a ddichon chwilio allan, neu yn llwyrgwbl an-nirgelu aml ddichellion Satan ynghyd ai ddirgel, ac ai bechadurus ystrywiau ef ynghalonnau dynion? Y mae efe mor gelfyddus, ac mor gywraint yn hynny,

ac nad oes neb á fedr llwyr ddirnad ei lwybrau ef. Ei waith ef ynghalonnau dynion sydd mor guddiedig, a dirgel, ac wedi ei goluro ar fâth hoccedion, a hudoliaeth, fel nad oes neb â olrhain ôl ei droed ef.

Ond etto cymmaint ac â adwaen i, o'i gyfrwystra ef yn erbyn y sawl á wrandawant y gair, iw gippio o'u calonnau hwynt, a'i wneuthur yn anffrwythlon, ac yn anfuddiol, mysi a'i mynegaf i chwi.

Yn gyntaf, y mae yn gwneuthur egni mawr i suo dynion i gyscu yn eu pechodau, fel na byddo arnynt ddim gofal, am eu iechydwriaeth: ac am hynny efe â gais eu gwneuthur yn ddifraw am wrando, a darllain y gair, rhag iddynt ddeffroi. Os metha ganddo yrru hyn ymlaen fel na fynnant amgen na wrandawant y gair, yna ei ddichell nessaf ef yw ceisio gwneuthur y gair a wrandawant yn anfuddiol iddynt, drwy bendwmpian o gyscu, syrthni, trawsfeddyliau, coeg-ddychymmygion, a mîl or cyffelyb. Oni thyccia hyn, eithr eu bod yn derbyn y gair iw calonnau, ac yntau yn gweithio ynddynt (nes eu bod yn cynnyddu mewn gwybodaeth, a dalltwriaeth o'r gwirionedd) yna efe â gymmer ffordd arall, nid amgen, peri iddynt ymfodloni i wybod yn unig beth â ddylent ei wneuthur,

wneuthur, ac etto bod heb ei wneuthur, a myned yn ddigydwybod. Oni bydd hyn ddigon, eithr bod o ddynion yn ofalus am wneuthur ewyllys Duw, drwy ymmadel a rhyw bechodau, yn enwedig y pechodau dygnaf, y rhai y mae y byd yn eu ffieiddio, a gwneuthur peth da; yna efe á bair iddynt ymddiried yn eu gweithredoedd da, gan ysgilio Crist, ai adel ef heibio, ac i dybied yn ddigon da o honynt eu hunain, o herwydd iddynt wneuthur peth da, ac ymwrthod â pheth drŵg.

Oni bydd hyn yn gwasanaethu'r trô, ond bôd dynion yn cyrhaeddyd ffydd fuddiol yn cyfiawnhau drwy gymmeryd gafael yng Hrist, a rhoddi eu goglud ar ei haeddedigaethau ef: Yna efe a ddychymmig pa fodd y gallo dywyllu prydferthwch eu ffydd, a gwanhau eu cyssur o herwydd llawer o wendid, a deffygion, ie hyd yn oed cwympiau trymmion, a drygau cywilyddus: fel na byddant ond Cristianogion brycheulyd, yn llawn beiau, ac anafau.

Oni thyccia hyn o ystryw, ond bod Cristianogion yn cyssylltu pob rhinwedd dda yngbyd a'u ffydd, ac yn discleirio yn amlwg ym mhôb ffrwyth cyfiawnder, yna y dychymmig efe ffordd arall: Nid amgen, peri iddynt ddigalonni, a llwfrhau

gan

gan rwystrau : megis tlodi, angen, afiechyd, enllib, dirmig, erlid, ar cyffelyb.

Oni bydd yr vn or rhain a wna'r weithred, ond bod o ddynion yn gefnog, ac yn ddianwadal yn credu Yng-Hrist, ac yn dioddef pob cystudd yn llawen, ac mewn ammynedd : Yna ei ymddeffyn dlwaethaf ef yw eu chwythu hwynt i fynu a phowdr gwn : Nid amgen, eu chwyddo o falchder o'u doniau, a'u rhadau, a'u cryfder, ac yn y modd hwnnw rhoddi iddynt gwymp anescorol, pryd na byddont yn byw yn ostyngedig, ac yn rhoddi i Dduw y moliant am eu doniau,

Mal hyn mi a roddais i chwi ychydig brawf o gelfyddyd Satan yn gwneuthur y gair yn anffrwythlon yn ein plith.

Asune. *Attolwg i chwi Syr (o herwydd fy mod i heb wybodaeth gennif, ac yn annyscedig) roddi i mi beth cyfarwyddyd manylach allan o air Duw, wrth yr hwn y gallwyf hyfforddi, a threfnu fyngweithredoedd neilltuol yn y cyfryw fodd, ac y gallwyf ogoneddu Duw ar y ddaiar, a chael fyngogoneddu gan Dduw ar ôl y bywyd ymma yn y Nefoedd.*

*Theol.* Gwaith anorphen fyddei teimlo pob peth yn neillduol : Ond ar fyrr eiriau gwnewch hyn. Ceisiwch Dduw yn ddiwyd yn ei air: Gweddiwch yn fynych : Ymhôb

peth

peth rhoddwch ddiolch: gochelwch ddrŵg, a gwnewch dda: ofnwch Dduw, a chedwch ei orchymynion: gwellhewch eich buchedd eich hûn, à diwygiwch feiau eich teulu: Cerwch rinwedd dda, a phôb dyn rhinweddol. Dilynwch gymdeithas y Duwiol, ac na fydded i chwi gyfeillach ar annuwiol. Ymddygwch yn sobr, yn vnion, ac yn sanctaidd yn y byd drŵg presennol hwn.

Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasllawn, a gochelwch serthedd; na thelwch i neb ddrŵg, ond gwnewch dda tros ddrŵg. Byddwch addfwyn, a chymmwynasgar i bawb: Gochelwch dyngu, a rhegu a melldithio. Gwiliwch rhag digter, llid, a chwerwedd.

Canmolwch eich anwyl ddyn ar osteg, a cheryddwch ef yn ddirgel: Na ddywedwch ddrŵg am rai absennol, nac am y marw, ie na ddywedwch ddrŵg am neb, ond y goreu am bawb bôb amser, or hyn lleiaf na ddywedwch y gwaethaf. Perchwch enw Duw, a chedwch ei Sabbothau: Gochelwch bob argoelion barnedigaeth, a cheisiwch yn ddyfal bôb arwyddion iachawdwriaeth: O flaen pob peth, ymogelwch rhag pechod; canys hwnnw yw torgêg yr enaid, a dinistrudd pob daioni. Arswydwch gan hynny, ac na phech-

phechwch, canys os ymrowch i bechu, edrychwch beth sy'n canlyn: y mae

1. Duw yn gweled.
2. Yr Angelion yn tystiolaethu.
3. Y gydwybod yn dwys-demmigo.
4. Angeu yn bygwth.
5. Y cythraul yn cyhuddo.
6. Ac vffern yn difetha.

*Chwe pheth peryglus mewn pechod.*

Chwi à welwch wrth hyn nad bwbach, neu peth i gellwair ag ef yw pechod. Pob pechod a wnelo dyn sydd megis brâth draen, wedi myned yn ddyfn ir enaid, yr hwn ni ellir ei dynnu allan oddiyno, ond à llawer ochenaid, a llawer o drymder. Pob pechod à scrifennir a phin o haiarn, ac *ag ewin o adamant* ar lêch y gydwybod, Ie. 17. 1
ac yn y dydd diweddaf (pan agorer y Llyfrau) à'n cyhudda, ac à ddŵg destiolaeth i'n herbyn.

Os pecha dyn drwy ddigrifwch, y digrifwch à ddiflanna ymmaith, eithr y gydwybod, a cholyn pechod à erys, ac ai poena yn angerddol: eithr os gwna dyn dda, er bod hynny trwy lafur, a phoen, y boen a dderfydd, ond y gydwybod dda o wneuthur yn dda, à erys yn llawn cyssur, a diddanwch.

Eithr y diwedd goreu ar bechod bob amser, yw edifeirwch, naill ai mewn pryd yn

yn y byd ymma, neu drwy wae, ac ochain pan fyddo rhy-hwyr, yn y byd arall. Gan hynny ymogelwch mewn prŷd, ymogelwch, meddaf, rhag pechod. Oblegit pechod sydd :

*Yn caledu y galon*, Heb. 3. 13.

*Yn cnoi y gydwybod*, 1 Sam. 25. 31.

Effeithiau pechod. *Yn ymladd yn erbyn yr enaid.* 1 Pet. 2. 11.

*Yn escor ar farwolaeth.* Iag. 1. 15.

*Yn gwradwyddo y neb ai gwnel.* Rhuf. 6. 21.

*Yn dwyn pob dialedd ar gorph, ac enaid.* Deut. 28.

Gwelwch gan hynny, wenwynig ffrwythau pechod; ac or achos hwnnw y mae *Zophar y Naamathiad* yn llefaru yn ddoeth tros ben wrth *Iob* gan ddywedyd. *Os oes drygioni yn dy law bwrw ef ymmaith ym mhell, ac na ddioddef i anwiredd drigo yn dy luestai : Canys yna y codi dy wyneb yn ddifrychau, ie byddi safadwy, ac nid ofni : Oblegit ti â ollyngi dy ofid tros gof : fel dyfroedd y rhai â aethant heibio y cofi ef.* Iob. 11. 14.

Yn yr hyn eiriau y dengys *Zophar* yn oleu mai bwrw ymmaith bechod ydyw ein cadernid ni, a dilyn pechod yw ein gwanhau ni : yn ôl yr hyn â ddywed *Salomon* : Diha. 10. 29. *Ffordd yr Arglwydd yw cryfdwr y cyfiawn.* Am hynny rhodiwch yn ffyrdd yr Arglwydd, a gochelwch lwybrau pechod.

Oble-

Oblegid yr Arglwydd à gospa bob pechod, ryw fodd neu ei gilydd: ac ni ddiangc vn pechod yn ddigosp. Canys cyfiawn yw Duw, a rhaid iddo gospi pechod ym mhôb dyn, er bod hynny mewn amryw foddion: Nid amgen y drygionus a gospir ynddynt eu hunain, a'r duwiol a gospir yng-Hrist. Ymogelwch gan hynny, ac na siommwch eich hunain yn eich pechodau.

*Ymodd y cospodd Duw ym mhob oes drosedd-wyr ei gyfraith.*

Cofiwch pa wedd y cafodd pob anvfydddod, a phob camwedd eu cyfiawn, a'u dyledus wobr. Duw ym mhob oes, a gymhwysodd yr achosion, ar achosedigaethef y pechod, a chospedigaeth y pechod. Yr *Israeliaid* am wneuthur duwiau dieithr drwy dorri y gorchymyn cyntaf à geryddwyd yn fynych gan law Dduw. *Exod.* 32. 4, 28.

*Nadab* ac *Abihu* meibion *Aaron* am droseddu yr ailsed gorchymmyn drwy *offrwm tan dieithr* ar allor Duw, a ddifethwyd a thân. *Cablwr* a throseddwr y trydydd gorchymyn a labyddiwyd yn farw. Yr hwn a dorrod y pedwerydd gorchymyn drwy *gasclu brîwydd ar y dydd Sabboth*, a labyddiwyd hefyd. *Absalon*, am droseddu y pummed gorchymyn, â grogwyd gerfydd ei wallt ei hûn. *Cain* am dorri y chweched gan lâdd ei frawd *Abel*, a ddûg arno ei hûn byth nòd digofaint Duw. *Sichem* mab *Hemor* am dorri y seithfed drwy halogi *Dina* ferch *Iacob*, à laddwyd gan *Simeon*, a *Levi* meibion *Iacob*.

Levit. 10. 2.
Lev. 24. 14.
Num. 15. 32.
2 Sam. 18 9.
Gen. 4. 15 ac 34. 26.

*Achan*

Iof.7.25. *Achan* am bechu yn erbyn yr wythfed gorchymmyn drwy ledratta y cŷn aur, ar wisc *Babilonaidd* a labyddiwyd yn farw. *Ananias* â *Saphira* am bechu yn erbyn y nawfed
Act. 5. 10. gorchymyn drwy gelwydd, a rhagrith, a darawyd yn feirw yn ddisymmwth. *Ahab* am droseddu yn erbyn y degfed gorchymyn drwy chwanogrwydd, ac ansodlorrhwydd a ddifethwyd, ai waed a lyfwyd gan gŵn.
1 Brenh: 21. 19, 24. Neu os tybiwch mai pechod gwreiddiol yn vnig â waherddir yn y gorchymmyn hwnnw, yna y cospir am dano blant bychain á marwolaeth. Rhuf. 5. 14.

Mal hyn nyni a welwn nad oes mor cellwair â Duw: Ond os ni â bechwn, bydded cyn siccred i ni gael ein talu am dano, â bod ein crysau am danom. Am hynny na thwyllwn ein hunain, ac na wnawn gyfrif bychan o bechu.

Canys nid bwbach yw pechod i yrru ofn yn vnig, ac heb ddim ond hynny: Nyni a gawn weled amgen, ddydd a ddaw. A pha fodd bynnag y gwnawn ni yn fcoewan, ac yn yscafn o ryw fâth ar bechodau, er hynny mewn gwirionedd pôb pechod sydd ffiaidd yngolwg Duw, ie pob pechod sydd ddybryd, ac echryslawn o herwydd hyn, sef am ei fod yn erbyn vn anfeidrol ei hanfod: Yn erbyn Duw ei hun; yn erbyn y mawrhydi goruchaf. Canys mawredd yr hwn y pecher

cher yn ei erbyn sydd yn mwyhau, ac yn cynyddu mawredd y pechod.

I yspyssu hyn: o chabla neb Ustus o heddwch, efe à darewir yn y cyffion: os dywed gabl-eiriau yn erbyn vn o gynghoriaid y brenin, efe â garcherir: Ond os difenwa efe Fawrhydi y Brenin ei hûn, ei grogi a wneir.

Felly chwi â welwch fod pechod yn myned yn fwy, ac yn waeth wrth deilyngdawd yr hwn y pechir iw erbyn. Yn awr gan nad yw'r holl dywysogion bydol ond llwch yngolwg Duw (ac ynteu o anfeidrol Fawrhydi, ac yn ddigyffelyb) mor ffiaidd, mor ddrygionus yw mewn modd yn y byd, trosedddu yn erbyn ei Ardderchog fawredd ef?

Gan hynny, i gymhennu hyn o beth, fynghyngor i chwi yw hyn, gochel drygioni, a mawrhau pob rhinwedd dda; megis i ddiosc yr hên ddyn, felly i wisco y dyn newydd. Cofiwch yn fynych, a phôb amser beth a ddaw o honoch ar ôl y bywyd yma, ac ym mhâ le y byddwch am ben y deugain mhlynedd, pa vn ai yn vffern, ai yn y Nefoedd. Edrychwch yn ofalus am hynny mewn prŷd: A byddwch fyw yn y cyfryw fodd, ac y galloch fyw bŷth. Ystyriwch yn fynych yneich dirgel fyfyrdod.

Pa beth â fuoch.
Pa beth ydych.
Pa beth â fyddwch.

Pa

*Niw yst-yriaeth buddiol.*

Pa beth a wnaeth Duw eroch.
Pa beth y mae yn ei wneuthur.
Pa beth a wna.
Farnedigaethau Duw or blaen.
Farnedigaethau Duw yr awrhon.
Farnedigaethau Duw etto i ddyfod.

Deffrowch, os madws, a gofelwch am eich iachawdwriaeth, nac ymroddwch i gyfcu yn hwy mewn pechod, rhag eich di-

Psal. 58. 11.

fetha yn dragywydd. *Canys diau fod gwobr i'r rhai cyfiawn, a bod Duw yr hwn a farna y ddaiar.* Ac dymma'r cyngor gorcu a fedrafi ei roddi i chwi.

Asuner. *Da iawn yw eich cyngor: Attolygaf i Dduw roddi i mi ràs iw ddilyn: Ac i fyw yn y cyfryw fodd ac y gallwyf ei fodloni ef, a myned i'r nef ar y diwedd.*

*Theol.* Gwiliwch rhag bod yn adrodd y geiriau hyn o arfer, ac er mwyn dangos lliw, heb fwriad fafadwy yn eich calon i ddilyn y cynghorion hyn.

Canys y mae llaweroedd â fedrant yn gyfarwydd ddywedyd yn dda, ond ni wnant ddim da: meddwl y maent eu bod yn bodloni Duw yn odiaeth a'u geiriau hygoel, ac na ofyn Duw ar eu dwylo ond hynny, fel pe gwnai efe gyfrif o eiriau.

Hwy

Hwy a ewyllysient yn chwannog fyned ir nef, ond ni chymmerant ddim poen, ni fynnant ymadel a'u pechodau, ni chollant mo'i trachwantau a'u melysfwedd : hwy â fynnent gael gwobr plant Duw, ond ni fynnant wneuthur gweithredoedd plant Duw. Hwy â fynnent gael y melus,ond ni fynnant mo'r chwerw : hwy â fynnent gael y goron, ond ni fynnant daro vn dyrnod. Hwy â fynnent fyned i *Canaan*, ond anhawdd ganddynt ymdeithio ar hyd y ffordd faith â pheryglus, fydd yn arwain yno.

Am hynny y gwŷr hyn, gan mai meibion feguryd ŷnt, â fetha ganddynt yn y diwedd gyrhaedd y peth y maent yn ei geisio. Oblegid yr Yfpryd â ddywed.*Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim.* Dih. 13.4.

O herwydd hyn y mae yn rhaid i ni ymadel â geiriau, a dyfod at weithredoedd. Canys ein Harglwydd Jefu â ddywaid:*Nid pob vn a ddywed Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i deyrnas nef,ond yr hwn a wnel ewyllys fy Nhad yr hwn fydd yn y nef.* Mat.7.21.

Yn yr hwn eiriau y gwelwn yn eglur fod *Crist* yn cau allan o'i deyrnas bawb ôll ar fydd a'u crefydd yn fefyll ar eiriau yn vnig, ac ar ymadroddion hygoel, ac heb wneuthur cydwybod o gadw gorchymmynion Duw.

Y Brenin *Dafydd* wedi gwneuthur dar-

par â pharodrwydd mawr tu ag at adeiladu y deml, ac yn gweled, fod gan ei fab *Salomon* ddigon o ddefnyddiau, a pharodrwydd iw gweithio, ac iw gorphen, sydd trwy fawr synwhyroldeb yn eiriol arno fyned ynghylch y gwaith, yn y geiriau hyn:
1 Chron. 28. 20. *Ymgryfha ac ymegnia, a gweithia, nac ofna, ac na arswyda: Canys yr Arglwydd Dduw, fy Nuw i fydd gyd a thi.*

O na bai ddynion yn-dilyn cyngor *Dafydd:* Nad ymgryfhaent, a gweithio: ac nid eistedd yn segur, a pheidio â gweithio: na adawent ymmaith eiriau, a munudiau, a myned ynghylch cadw cyfraith Dduw, ac ymegnio yn ofalus, ac yn gydwybodus i ddangos gwir vfydd-dod iw ewyllys ef: yna yn ddiammeu y byddei Duw gyd â hwynt, y bendithiei hwynt, a llawer o ddaioni â ddeuai o hynny. Oblegid fe ddywaid yr Scrythur: *ym mhob llafur y mae elw: ond o eiriau gwefusau nid oes dim ond tlodi. Dihar.* 14.23.

*Phila.* Meddyliau y rhan fwyaf ydynt wedi eu boddi yngghariad y byd hwn mor llwyr-gwbl, ac nad oes ganddynt galonnau i vfyddhau i Dduw, na dim digrifwch yn ei orchymynion ef.

*Theol.* Y rhan fwyaf o ddynion ynt debig ir *Gadareniaid*, y rhai a wnaent mwy cyfrif o'u môch, nac o *Grist*. Megis y gwelwn yn ein dyddiau hyn, pa sawl rhai

a

a wnant ſwy cyfrif o'u gwartheg, ac o'u defaid, nac o ogoneddus Efengyl *Griſt*, O dom, nac o berlau. Gofalus ſyddant am goeg-bethau, a difraw am y pethau mwyaf rhagorol. Ac am hyn y gellid yn gymmwys eu cyffelybu i ŵr a ſai ei wraig ai blant yn drymglâf, ac ynteu er hynny nid edrychei am danynt, ond bod yn bryſ-ſur, ac yn ddiwyd ynghylch meddiginiae-thu cluſtiau ei fôch.

*Phila.* Nyni â giliaſom beth ar ddidro, oddiwrth y deſtyn oedd gennym yn llaw, attolwg i'wch gan hynny, od oes gennych ddim cynghorion ychwaneg â roddoch i *Aſunctus*,eu hadrodd o honoch yn ddioed.

*Theol.* Nid oes gennif ond ychydig iw ddywedyd ychwaneg: oddieithr yn vnig eiriol arno am gofio, a myſyrio yn ſynych y naw peth hyn, nid amgen

1. Pa ddrŵg â wnaeth.
2. Pa ddâ â adawodd heb ei wneuthur.
3. Pa amſer â gam-dreuliodd.
4. Fyrred yw'r bywyd yma.
5. Oferedd y byd hwn.
6. Godidowgrwydd y byd â ddaw.
7. Dychryn marwolaeth.
8. Dydd y farn ofnadwy.
9. Uffern-dân annioddefadwy.

*Phila.* Da iawn yw hyn,a chryno.Chwi a ſoniaſoch or blaen am rai o'r pyngciau hyn, Eithr yr wyfi yn ewyllyſio cael cly-

wed peth y chwaneg am y ddau olaf, y rhai ni chrybwyllwyd etto am danynt.

*Theol.* Gan eich bod yn ewyllysio, mi a adroddaf i chwi ar fyrr, yr hyn a derbyniais gan yr Arglwydd.

Yn gyntaf, am ddydd y farn yr wyf yn cael yn llyfr Duw, y bydd y dydd hwnnw, yn ofnadwy, ac yn ddychrynnedig: *Canys mab y dŷn a ddaw yn wybrennau'r*
Mat. 24. 30. *nef, gyd a nerth, a gogoniant mawr.* A Saint
2 Pet. 3. 7, 10. *Petr* a ddywed. *Dydd yr Arglwydd a ddaw megis lleidr y nos. Yn yr hwn y nefoedd a ant heibio mewn trŵst, ar defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaiar, a'r gwaith a fyddo ynddi a loscir.*

Yr Apostol a ddywed i ni, y bydd yr hollfyd yn dan-llwyth o dan goleu ar ddyfodiad Crist, ac yr yssir yn vlw, ac yn lludw yr hôll gestill, tyrau, adeilad gwychion, aur, arian, melfed, sidan, a hôll ddisclair brydferthwch, gogoniant, a thegwch y byd hwn. Oblegit dywedyd yn eglur y mae: *Y nefoedd a'r ddaiar sy yr awr-hon trwy'r vn gair a roddwyd i gadw i dan erbyn dydd y farn, a destryw yr anwir ddynion.* 2 *Pet.* 3. 7.

Ym mhellach profi y mae yn gadarn mai megis ac y difethwyd y bŷd vn-waith trwy ddwfr: felly ail-waith yn ei ddiwedd y destrywir ef a than.

Yr Apostol *Paul* a destiolaetha yr vn peth: Canys efe a ddywed, *Y daw yr Arglwydd or nefoedd gyd a'i Angelion nerthol yn dan fflamllyd.* 2 Thes. 1. 7, 8.

Ac mewn man arall y mae efe yn dangos ddychrynnedigaeth ei ddyfodiad ef ir farn, gan ddywedyd: *y daw efe gyd a bloedd, a llef yr Archangel, ac ag vtcorn Duw.* Nyni a welwn wrth brawf, fod dyfodiad Tywysogion bydol i ryw le, gyda rhwysc mawr, a gogoniant. Y mae ganddynt finteioedd, a thyrfaoedd mawrion ymmlaen, ac yn ôl: Yn eu cymdeithas y bydd llawer o bennaethiaid, Arglwyddi Ardderchog, ac Arglwyddesau hoiw sydd yn wasanaethgar iddynt. Y Cledd-glududd, yr Utcan-wyr, a'r Rhag-arlwywyr fyddant or blaen. Llawer o wŷr gwychion, ac vchelfawr yn dyfod yn ôl. Gan hynny os dyfodiad dynion daiarol fydd mor Ardderchog, a gogoneddus, pa faint mwy gogoneddus fydd dyfodiad mab y dyn, yngolwg yr hwn, nid yw Tywysogion daiarol ond llŵch? Yr Scrythyrau a ddywedant y bydd ei ail ddyfodiad ef i'r farn yn y cyfryw ddisglairwych, ac anrhaethol ogoniant, hyd oni bydd, hyd yn oed y creaduriaid godidoccaf, yn synnu am dano. *Canys yr haul a dywyllir, ar lleuad ni rydd ei goleuni, a sêr y nefoedd a syrthiant:* gan arwyddocau wrth hyn y tywyllir, ac 1 Thes. 4. 16. Mat. 24. 29

y di-brydferthir y creaduriaid gogonedd-usaf, a mwyaf eu discleirdeb gan eglurdeb annealladwy ei ddyfodiad ef. Hefyd fe nodir i ni ddychryn dyfodiad Crist yn hyn, sef yn ebrwydd o flaen hynny yr * ymsigla, ac y cryna'r môr, ac yn ei ryw ei hun a lefa yn grôch: oblegit fe ddywedir, *Y mor, a'r rhyferthwy a ddatseinia (ac mewn dull galarus, a phruddaidd a rua) a bydd calonnau dynion yn llewygu gan ofn, a disgwyl am y pethau a ddeuant ar y byd: oblegit nerth y nefoedd a siglir.* O * beth a ddaw o dyng-wyr, meddwon, putteinwyr ar cyffelyb yn y dydd hwnnw? hwy a geisiant ymlusco i dwll ebill, i ymguddio.

* Cynhyrfa.

Luc. 21. 25.

* Neu beth a ddersydd.

Hwy a lefant gwae ni, ac ôch erioed ein geni: hwy â ddamunent nas ganesid erioed, neu escor o'u mammau arnynt yn llyffaint. Ac fel y dywedir yn y Datcuddiad, *Hwy a ddywedant wrth y mynyddoedd, a'r creigiau, syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ac oddiwrth lid yr oen. Canys y mae dydd mawr ei ddigter wedi dyfod, a phwy a ddichon sefyll.* Nyni a welwn gan hynny na fydd ei ail dyfodiad ef yn wael; ac yn ddiystur megis ei ddyfodiad cyntaf, ond yn ddychrynadwy, yn Arderchog, ac yn ogoneddus: Ac fel y dywed yr Scrythyrau e fydd ei ddyfodiad ef mewn ofn mawr, a

Dat. 6. 16.

dy-

dychryn: felly hefyd y dangosant y bydd yn ddisymwth, ac heb ei ddisgwyl.

*Oblegit dydd yr Arglwydd a ddaw fel lleidr y nos: fel gofid gwraig feichiog wrth escor: fel magl y daw ar wartha pawb oll a'r sydd yn trigo ar wyneb y ddaiar.* Nid amgen fe â ddeil yn ddisymwth, ac a fagla bawb oll, pa le bynnag yn y bŷd y byddont. 2Pet. 3. 10 1 Thes. 5. 2, 3. Luc. 21. 35

Megis y daeth y daiar-gryn, â fu ynghylch er ys deugain mlynedd eusys, yn ddisymwth ar y bŷd, ac ynteu heb ddisgwyl dim or fâth beth: felly dyfodiad mâb y dŷn i'r farn â ddeil y byd ar y gwtta, ac yn amharod: Canys ni bydd nemmawr yn meddwl am y fâth beth.

Yn gymmaint gan hynny, ag y bydd ail-ymddangosiad Crist mor ddisymmwth; ofnwn, a dychrynwn, oblegit pôb peth disymmwth sydd iw arswydo.

*Phila.* Bellach Syr, fel y dangosasoch i ni y daw Grist yn ofnadwy, ac yn ddisymmwth, felly dangoswch i ni gyngyd, a diwedd-bennod ei ddyfodiad ef.

*Theol.* Y diwedd-achos pennaf o'i ddyfodiad ef sydd i gynnal Cyfrif-lys, i alw pawb iw Cyfrif am weithredoedd neullduol pôb dyn, ac i dalu iddynt yn ôl eu gweithredoedd, fel y mae yn scrifennedig. *Mab y dŷn a ddaw yngogoniant ei dad, gyd a'i Angelion, ac yna y rhydd efe i bob dŷn yn* Mat. 16. 27

*ol ei weithredoedd.* Drachefn yr Apostol â ddywed at y Corinthiaid. *Rhaid yw i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob vn y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa vn bynnag a'i da, a'i drŵg. 2 Cor. 5. 10.*

Ymma y gwelwn yn eglur mai diweddbennod dyfodiad Crist fydd i farnu pôb dyn yn ol ei weithredoedd, nid amgen fel y byddo ei weithredoedd yn dangos ei fôd, ac yn tystiolaethu o honaw, ac o'i ffydd.

Mewn man arall y dywed yr Apostol: *Mai diwedd ei ddyfodiad ef fydd i roddi dial i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid vfyddhant i Efengyl ein Harglwydd Jesu Grist, y rhai a ddioddefant yn gospedigaeth ddinistr tragwyddol, oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef. 2 Thes. 1. 8. 9.*

Gwae gan hynny ddau fâth ar ddyn, yr anwybodus, ar anvfydd: Oblegit yr Apostol a ddywed yn ddi-os y condemnir hwynt eill dau.

Myfi â dybygwn y dylei yr anwybodus, ar anvfydd, a phob mâth ar ddynion drygionus eraill grynu wrth feddwl am hyn: sef y daw Crist i roddi dial arnynt. Pe gwyddem ni yn siccr y deuai yr Yspaenwyr i orchfygu ein gwlad, i'w gwasarnu, ac i wneuthur buddugoliaeth o honi, y tywalltent i'n gwaed, i'n dinistrio, a gwneuthur

thur difrod arnom ; ie y caem weled o flaen ein llygaid ladd ein gwragedd, a'n plant, ein cenhedl, a'n caredigion, hyd oni byddei eu gwaed yn llifeirio yn yr heolydd, pa ofn ei faint, pa ddychryn a darawei hynny ynom ? ni â grynem wrth feddwl am dano.

Oni bydd arnom mwy ofn o lawer rhag damnedigaeth ein eneidiau ? oni chrynwn wrth feddwl y daw Crist i roddi dial ? Os y llew a rua, hôll anifeiliaid y maes a ofnant, ac onid ofnwn ni ruad y llew o lwyth Juda ? Eithr y fywaeth y mae ein calonnau ni cyn galetted, a ninnau gwedi ein fuo i gyfcu ynghrud diofalwch, fel nad oes dim a'n cynnyrfa, dim a ddichon ein deffroi.

*Phila.* Yn awr megis y dangosafoch ddychryn, a diwedd-achos dyfodiad Crist : felly mynegwch hefyd i ni, ym mha ddull y daw efe.

*Theol.* Dull ei ddyfodiad fydd fel hyn, nid amgen: y byd oll a ddyfynnir i ymddangos, bawb yn brefennol yn yr eifteddfod cyffredin honno gerbron y Barnwr mawr. Ni chaiff nêb gennad i atteb drwy ddadleuwr.
Ond rhaid i bawb atteb trofto ei hûn : Ni chaniadheir i neb roi meichiau, eithr rhaid i bawb ddyfod eu hunain, yn ddi-fach fel yr fcrifennir. *Rhaid i ni oll ymddangos :* 2 Cor. 5. 10.

vchelradd, ac iſſel-radd, cyfoethog, a thlawd, Brenhin a chardottyn, y naill, ar llall: fel y dangoſir yn amlwg yn yr vgeinfed bennod o'r Datcuddiad, lle y dywed yr Yſpryd. *Mi a welais y meirw oll, mawrion a*
Datc. 20. *bychain yn ſefyll o flaen Duw, ar mor a rodd-*
12, 13. *es i fynu y meirw a oeddent ynddo, a marwolaeth, ac vffern a roeſant i fynu eu meirw.* Felly y mae yn eglur fod yn rhaid i bawb yn ddi-eſcus ymddangos yn y Seſſiwn fawr ofnadwy.

O pa ddiwrnod mawr fydd y dwthwn hwnnw pan ymddangoſo'r hôll fyd ynghyd ar vnwaith? Pe priodei Brenhin ei fab, a gwahodd Brenhinoedd eraill, Emerodron, Duciaid, a Phennaethiaid ir briodas, a'u hôll rwyſc a'u dilynwyr, ein harfer yw dywedyd, ô pa briodas, pa gynnulleidfa, pa drafferth, pa ddiwrnod mawr fydd hwnnw? Ond pan ymgynnullo yr hôll fyd ynghyd, nid yn vnig yr hôll Fonarchiaid, Brenhinoedd, a Thywyſogion, ond pawb eraill ar a fuant erioed o ddechreuad y byd, ar y ſydd, ac a fyddant, pa ddiwrnod fydd hwnnw? Diryfedd gan hynny fod yr Scrythyrau yn ei alw, dydd Duw, a dydd mawr yr Arglwydd.

Pan ddel pôb cnawd ynghyd i ymddangos yn gorphorol, yna yr ymdderchafa mab y dyn iw orſeddfaingc mewn mawrhydi,
Dan. 7. 10. a gogoniant rhagorol. Canys *afon danllyd a red,*

*a red, ac a ddaw allan oddi ger ei fron ef, mil filoedd a'u gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron ef: eisteddwyd ar y farn; ac agorwyd y llyfrau.* Yr holl Saint hefyd, a gwir addolwyr Duw au gwasanaethant ef, ac a ddeuant gyd ag ef ir frawdle. Ac nid hynny yn vnig, eithr hwy a eisteddant ar y faingc, ar orseddfa gyd ag ef, fel y mae yn scrifennedig: *Y Saint* 1 Cor. 6. 2
*a farn y byd*, hwy a farnant yr Angelion, nid amgen y Cythreuliaid, ac Angelion y tywyllwch. Ein Harglwydd Jesu ei hûn a siccrha yr vn peth: pan ddywedodd wrth ei ddiscyblion, ac ynddynt hwy wrth bôb gwir Gristion: *Yn wir meddaf i chwi, pan* Math. 19
*eisteddo mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, chwychwi y rhai a'm dilynasoch i yn yr adenedigaeth, ie chwychwi a eisteddwch ar ddeuddeg gorsedd, ac a fernwch ddeudec-llwyth Israel.* Hynny yw, Saint Duw a destiolaethant, mai cyfiawn, ac vnion fydd y farn a ddatcan Crist yn erbyn yr holl rai anghredadwy. 28.

Felly nyni a welwn pa wedd yr hebryngir Crist hyd at ei orseddfaingc; Ac a pha ogoniant, a mawrhydi yr escyn efe yno. Defod ein gwlad ein hûn a ddysc ini hyn: sef pan fyddo Barn-wyr bydol yn cynnal eu Sessiwnau, a'u heisteddfodau cyffredin, yr hebryngir hwynt i'r faingc, ac ir frawdle mewn rhwysc, ac mewn dychryn.

Oble-

Obleglt Siri y ſîr, ai wŷr aiſog, a bagad o Ustuſiaid o heddwch, a llawer eraill a ânt gyd â hwynt at y faingc : Pa faint mwy fydd gogoniant, ac Ardderchawgrwydd mab Duw, pan hebrynger ef iw orſedd-faingc frenhinol.

Mal hyn, wedi yr eiſteddo Criſt ar ei orſeddfaingc, y cefclir ger ei fron ef, yr holl rai annuwiol : Ac efe a ſaif vwch eu llaw hwynt, a chleddyf noeth yn ei law ; Ar y naill du iddynt y ſaif y Cythraul ger llaw iw cyhuddo : ar y tu arall y bydd eu cydwybodau eu hunain.

Oddi tanynt y bydd ſybwll vffern yn agored, yn barod i'w llyngcu : yna yr agorir y llyfrau, nid llyfrau o bappur, neu femrwn, ond llyfrau cydwybodau dynion. Canys ynghydwybod pob dyn megis mewn llyfr coffadwriaeth y bydd

Preg. 12. 14. ei bechodau yn ſcrifennedig. Yna y *dŵg duw bob gweithred i'r farn, a phob meddwl dirgel*, ac ai geſyd yn eu trefn ger bron

1 Cor. 4. 5. yr holl rai gwrthodedig : *Yna y goleua Duw ddirgelion y tywyllwch, ac yr eglura feddyliau y galon.*

Y pryd hynny y cyſyd yr annuwolion oll eu dwylo ar farr gorſeddfaingc Criſt, ac y dywedant, euog Arglwydd : yna y cyhoeddir yn eu herbyn farn ofnadwy o farwolaeth, a damnedigaeth, a rydd y Barnwr cyfiawn yn eu herbyn, ſef, *Ewch chwi*

*felldi-*

*felldigedig i dân tragwyddol, yr hwn a ddarparwyd i ddiafol, ac i'w Angelion.* Math. 25. 41.

O farn dosturus ; oh ymadrodd cethin, a thrwm ei glywed : Pwy ni chrynei ei galon wrth feddwl am y pethau hyn ? Pwy ni safei ei wallt yn ei sefyll ? y pryd hwnnw y collir yn dragwyddol filoedd o bobl, y rhai yn y byd ymma a gynnyddant fel y Cedar yn *Lebanon* : Ac yna yr ysant (megis cyfiawn daledigaeth am eu hanwiredd) o phiol chwerw llid, a digofaint Duw, yn Nheyrnas y tywyllwch, ac yngwydd Satan, a hôll felldigedig elynion Gras Duw.

*Phila.* Megis y mynegasoch i ni, y dychryn, y diwedd-achos, a dull dyfodiad Crist, ac mor ddisymmwth y daw efe ir farn : Felly bellach yn ddiwaethaf dangoswch i ni pa iawn-ddefnydd a wneir or pethau hyn.

*Theol.* Saint *Petr* a ddywed, ac a ddysc i ni iawn ddefnydd y cwbl : Canys (eb efe) *Gan fod yn rhaid i hyn ei gyd ymollwng, pa fath ddynion a ddylech chwi fod mewn sanctaidd ymarweddiad, a duwioldeb.* 2Pet. 3. 11. Fel pe dywedasei, gan fod y Nefoedd yn myned heibio mewn twrst, ar defnyddiau o wir wrês yn toddi, ar ddaiar, a'r gwaith a fyddo ynddi yn rhaid ei llosci : Hefyd gan fod dyfodiad Crist iw ddisgwyl mewn dychryn mawr, i ddiwedd ofnadwy, a dull arswyddus, pa egni a ddylem ni ei wneuthur

i geisio

i geisio cynnyddu, a rhagori mewn daioni? Felly Saint *Petr* a ddengys i ni, mai'r gwir ddefnydd, a'r addysc o'r cwbl yw hyn: Sef, mal drwy ystyriaeth or pethau hynny y galler ein dwyn yn nês at Dduw, i fod yn vfyddach iw ewyllys ef, ac i rodio yn ei holl orchymynnion, gan wneuthur cydwybod o'n holl ffyrdd: A bwriadu bodloni Duw ym mhôb peth: bod yn ffrwythlon ym mhôb gweithred dda, drwy fyw yn sobr, yn gyfiwn, ac yn sanctaidd yn y byd presennol drygionus hwn: A chan *ddangos allan rinweddau yr hwn a'n galwodd o dywyllwch i'r rhyfeddol oleuni hwn:* fel y gallom ymbaratoi erbyn dydd ei ymddangosiad ef, fel na'n goddiweddo ar y gwaethaf.

Canys ein bywyd ni a ddylei fod yn fyfyrdod gwastadol am farw. Nyni a ddylem fyw beunydd, fel pe baem yn marw beunydd, neu fel pe byddei ein gwely yn fêdd i ni. Ein rhan ni yw byw beunydd megis pe deuai Crist i'r farn yn ebrwydd. Fel yr adroddir am ŵr duwiol gynt yn amser y Brifeglwys: nid amgen Beth hynnac a wnai, ai bwyta, ai yfed, ai beth bynnac arall, fe dybygei ei fod yn clywed vtcorn yr Arglwydd yn datseinio beunydd yn ei glustiau, gyd a'r geiriau hyn: *Cyfodwch y meirw, a deuwch i'r farn.* Beth pe gwybyddid yn siccr y deuai Crist i'r farn ŵyl *Joan* nessaf;

nessaf: Pa gyfnewid a wnai hynny ar y byd, pa ddiwygio a wneid ar feddyliau, a chyneddfau? Pwy a gymmerei ofal am y byd hwn? Pwy a osodei ei fryd, ai serch ar olud? Pwy a wnai gyfrif o ddillad gwychion? Pwy a lesasei neu a feiddiei dwyllo, gorthrymu a meddwi? Pwy fyddei mor hyf a thyngu, dywedyd celwydd, a godinebu? Nagê, onid ymroddai pob dyn i vfyddhau i Dduw? Oni wasanaethei pawb ef yn ddiwyd? Oni redai gwyr, gwragedd a phlant yn finteioedd i wrando ar Bregethau? Onid ymroent i weddio, a darllain? Onid edifarhaent am eu pechodeu? Oni lesent am drugaredd a maddeuant? Gwelwch wrth hyn, faint a weithiei gwybodaeth siccr o fod y farn yn dyfod yn agos. Ac oni ddylei fod gennym ni gymmaint gofal, ac awydd i wneuthur y pethau hyn o herwydd bod y dydd yn annwybod i ni?

Pwy a ŵyr a ddaw Crist y mis ymma? y flwyddyn ymma, neu'r flwyddyn nesaf? Efe ei hûn a ddywed: *Byddwch barod, gwiliwch, canys yn yr awr nis tybioch y daw mab y dyn.* Tybied yr ydym ni, na ddaw dydd y farn y leni, na'r flwyddyn nesaf, na'r can mlynedd hyn; nid hwyrach er hynny y daw efe yn ddisymmwth arnom, ni wyddwn pa cyn gynted: *Canys mewn awr ni ddisgwyliom am dano, y daw efe.* Am hynny y dywed ein Achubwr: *Ymogelwch, gwiliwch* Math. 24. 44.

*liwch a gweddiwch, canys ni wyddoch pa bryd y bydd yr amser. Mar.*13.33.

Ac yn Efengyl Saint *Luc* y dywed. *Edrychwch arnoch eich hunain rhag gorchfygu eich calonnau, a glothineb, a meddwdod, a gofalon y byd hwn, a dyfod y dydd hwnnw arnoch yn ddisymmwth. Canys fe ddaw fel magl ar wartha pawb oll ar sydd yn trigo ar wyneb y ddaiar.*

Luc. 21. 34. 35.

Mal hyn ni a glywn faint o rybuddion, ac amneidiau a ddyry ein Achubwr i ni, pan yw yn dywedyd: Byddwch barod, deffrowch, ymogelwch, gwiliwch, a gweddiwch, ac edrychwch o'ch amgylch rhag dyfod y dydd hwnnw arnoch yn ddisymmwth, ach dal ar y gwtta. Wrth hyn angenrhaid i ni fod yn barod bôb amser, tan boen marwolaeth, ac fel yr attebom i'r gwrthwyneb tan ein perigl.

*Phila.* Ewch rhagoch i ymadrodd am boenau vffern.

*Theol.* Am boenau vffern yr wyf yn ystyried tri peth: am ba rai y llefaraf fy meddwl ar fyrr: y rhai hyn ydynt.

1. Tofter.
2. Tragwyddoldeb.
3. Anghyfaredd, neu ddiymwared.

Yn gyntaf, am dofter poenau vffern, ar dri pheth yn bennaf y mae hynny yn fefyll.

Yn

Yn gyntaf, gwahaniaeth, a didolaeth oddiwrth bob llawenydd, a chyssur, o fod yngwydd Duw.

Yn ail, cymdeithas dragwyddol gyd a Diafol, ai Angelion.

Yn drydydd, dolur-glyw ofnadwy oddiwrth ddigofaint Duw yn ymaflyd yn y corph ar enaid, ac yn ymborthi arnynt, fel tan ar byg a brwmstan byth bythoedd.

Yr Scrythyrau a arwyddocant dostер poenau vffern, pan eu galwant: *Y pwll yn llosci a than, a brwmstan yn dragywydd*: *ac mai yno y bydd wylofain, a rhingcian dannedd*; A sicrhau, *Na bydd marw eu pryf*, (sef pryf eu cydwybod gnofaus, neu eu penydgydwybod.) Ac na *ddiffydd y tan*; wrth ei gyfenwi ef *Tophet, yr hwn sydd ddyfn, ac ehang, a'i gynneuad o dan, a choed lawer, ac anadl yr Arglwydd megis afon o frwmstan yn ei hennyn hi.* Datc. 21. 8. Luc. 13. 28 Mat. 8. 12. Mar. 9. 44. Esa. 30. 33

Ofnadwy i'n synhwyrau ni yw'r pethau hyn, ac etto ni ellir wrth y pethau hyn lwyr-ddirnad neu ddeall tostеr poenau vffern, fel y maent mewn gwirionedd, a gweithred. Oblegid ni dichon calon ddeall, na thafod draethu faint yw angerdd poenau vffern.

Megis nad aeth i galon dyn erioed faint yw llawenydd y nef: Felly nid aeth chwaith faint yw poenau vffern. Nid yw'r holl benydiau, a'r blinderau a ddigwyddant

ar ddynion yn y byd ymma, ond megis gwreichion bychain yn taflu o ffwrn digofaint Duw. Nid yw'r hôll dân ymma, ond dynwared tân, o'i gyffelybu i dân vffern. Y mae tan vffern (medd vn) mor angerddol, ac y dichon losci dyn yn vlw, saith milldir oddiwrtho.

Ac etto y gwrthodedig yn penydio ynddo beunydd, ni lwyr-yssir byth ganddo. Megis y mae y *Salamander* yn tân bob amser, ac heb ei ddifa ganddo: felly y bydd y drygionus yn Nhân vffern bob amser: Ac etto byth nis yssir, byth ni ellir eu difa: Canys marwolaeth yn byw beunydd yw vffern, a diwedd yn dechreu o newydd bob amser.

Peth blîn i ddyn trym-glâf yw gorwedd mewn gwely plû, pa faint blinach ar y gridil purboeth; ond pa faint mwy na hyn ei gyd, yw llosci bennydd yn vffern, a bod byth heb ei ddifa.

Math arall ar dofter poenau vffern yw hyn, sef, eu bod yn hollawl ym mhôb aelod ar vnwaith; y pen, y llygaid, y tafod, a'r dannedd, y gwddf, y cylla, y cefn, ar bol, y galon ar ystlysau. Holl ddoluriau y bywyd ymma ydynt rannol, neu neillduol: Canys ar rai y mae dolur o'r pen, ar eraill o'r cefn, ar rai o'r cylla, ar eraill o'r gliniau. Etto y mae rhyw fath ar ddoluriau, na ddioddefai ddyn hwynt er ynnill

niil yr holl fyd: Ond gorfod i ddyn ddolurio, a phenydio ym mhôb rhan, ac aelod ar vnwaith, pa olwg mor resynol? Pwy ni thosturiai wrth gî a fai yn y cyfryw gyflwr? Felly nyni a welwn fod toster, ac angerdd poenau vffern yn fwy nac y gellir eu dirnad, a'u hadrodd.

Oblegid pwy a ddichon fynegi y peth sydd anfesurol: ni all neb fyned ym mhellach i ddirnad yr hyn sydd anfesurol, na gwybod ei fod yn anfesurol.

*Phila.* Megis y dangosasoch i ni mor dôst yw poenau vffern, felly ewch rhagoch bellach at y tragwyddoldeb arnynt.

*Theol.* Yr Scrythyrau a amlygant dragwyddoldeb poenau vffern, wrth ddywedyd y parhant byth bythoedd: Y drygionus a fwrir i'r pwll sy'n llosci a than a brwmstan yn dragywydd. Y tan byth ni ddiffydd. Pan el heibio gynnifer can-mîl o flynyddoedd, ac y mae cerrig ar lan y môr, etto y mae cymmaint arall iddo i ddyfod.

Canys ni ddichon y peth hwnnw byth ddiweddu yr hwn nid oes diwedd arno. Pe bai holl gyfrifyddion y byd wedi eu gosod ar waith holl ddyddiau eu bywyd, i rifo y rhifedi mwyaf, a'r a allent hwy ei osod ar lawr, a phe crynhoent yn y diwedd eu holl gyfrifon ynghyd; er hynny, ni chyrhaeddent ddyfod yn agos, nac ynghyful at y

mesur amser, tros yr hwn y poenir y drygionus.

Pei bai holl amgylchiadau y Nefoedd wedi eu scrifennu troftynt a rhif-luniau Cyfrifyddiaeth, or dwyrain ir Gorllewin, ac or Gorllewin ir dwyrain eilwaith: er hynny ni allai y cwbl gynnwys yr amser anherfynol, a'r anneirif flynyddoedd yn yr rhain y dioddef yr anghredadwy benydiau tragwyddol. Oblegit mewn pethau anherfynol nid oes le i amser.

Canys mewn cylch a therfyn amser y mae mesur y pethau hynny y rhai ydynt tan fesur. Am hynny o herwydd bod poenau vffern yn anherfynol, ni ellir eu mesur wrth amser: ac ni ddichon chwaith peth anherfynol ymleihau. Oblegit os tynnwch oddiwrth beth anherfynol, ddeng mîl mîl fyrddiwn o filoedd, er hynny ni leihauwyd dim arno.

Pe'i bai ddyn vnwaith mewn can-mîl o flynyddoedd yn cymmeryd llwyaid o ddwfr allan o'r mor mawr, pa hyd a fyddei hyd oni ddiyspyddid ef felly? Etto cynt y diyspyddid y môr trwy gymmeryd allan o honaw lwyaid vnwaith mewn can mîl o flynyddoedd, nac y caiff yr enaid damnedig ddim esmwythyd.

Am hynny y dywed hen athro: *pe poenid enaid colledig yn vffern tros fil o flynyddoedd, ac yno cael o honaw beth hamdden*

*dden neu amser o esmwythad, fe fyddei peth cyssur yn hynny: (Canys fe fyddei peth gobaith o gael diwedd) eithr (medd efe) y gair hwn byth sydd yn lladd y galon.*

Oh ystyriwch hyn y rhai ydych yn anghofio Duw. Oh chwychwi fydolion cnawdol, meddyliwch am hyn mewn pryd, ac amser: Oblegit oni chynyrfir chwi yr awr-hon wrth glywed, fe a'ch rhwygir yn ddrylliau wrth ddioddef. Beth â dyccia byw ym mhob digrifwch, a chnawdol ddifyrrwch ymma tros ynghylch trugain mlynedd, ac yna ddioddef y poenau hyn tros byth: *Pa lesad i ddyn ennynill yr holl fyd, a cholli ei enaid?* Gwaeth ydynt na chynddeiriog, y rhai a beryglant eu eneidiau am dippin buchan o fudd, am ychydig felyswedd drewedig.

Eithr dymma naturiaeth dynion, hwy a fynnant y melus presennol (dêl a ddêl) er drutted y talont am dano, er myned o honynt ir prîs vchaf: er colli o honynt eu eneidiau. Oh ddallineb anrhaethol, ac ynfydrwydd dynion y byd hwn: Diafol a dynnodd allan eu llygaid, ac am hynny a'i tywys hwynt lle y mynno.

Canys pwy ni ddichon dywyso dyn dall lle mynno? *Nahash* yr *Ammoniad* ni wnai 1 Sa.11.2.
gyngrair a'r *Israeliaid*, ond tan ammod cael *o honaw dynnu ymmaith eu holl lygaid dehau.*

Felly

Felly y mae diafol yn gwneuthur cyngrair a'r drygionus, o dynnu eu dau lygaid, fel y gallo efe eu harwain yn vnion i vffern.

*Phila.* Bellach Syr,gair ychwaneg am anghyfaredd tan vffern.

*Theol.* Yr Scrythyrau a'i hyspysant fel hyn, megis y mae poenau vffern yn dôst, felly eu bod hefyd heb obaith esmwythyd. Fel y mae yn Scrifennedig: *Ni ddichon*
Psal. 49. 7, 8. *neb waredu ei frawd: Na thalu iawn trosto ef i Dduw: Canys gwerthfawr yw pryniad ei enaid fel y gorfyddo peidio a hynny byth.*

Ir deall ymma y dywedodd *Abraham* wrth y gŵr Goludog, yn poeni yn vffern,
Luc. 16. 26 *Y mae gagen-dorr wedi ei gosod rhyngom ni a chwi, fel na allo y rhai a fynnent dramwy oddi-ymma attoch chwi, na dyfod oddi yna ymma.*

Ein Harglwydd Jesu hefyd a ddywed.
Math. 16. 26. *Pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?* Lle y mae ein Achub-wr yn dangos yn eglur nad oes na thal na gwerth, er maint fyddo, iw roi tros enaid colledig: Canys pan êl yr enaid i vffern ni ellir byth ei ryddhau; nid oes fodd byth iw gael allan drachefn: er nac arian,nac aur,na charedigion,na chyfoeth, na chryfder,na chyfrwystra, nid oes na gweniaith,na gwobr, na chyrrhaedd,na ffuli,na dychymmig a dyccia

ewin-

ewinfedd: Canys nid oes gan ddyn vnwaith yn vffern ddim * cyfaredd, a chymorth; y mae mewn carchar caead, mewn caethiwed byth bythol.

* Cyfrwng ymadferth.

Nid oes mor dyfod allan drachefn, rhaid yw dioddef carchar tragwyddol. Ni ddichon efe godi fcrifen o gam-garchar. Oblegit ei roddi i mewn gan yr hwn fydd farnudd vnion a chyfiawn, yr hwn ni ddichon wneuthur cam, ond rhaid yw fefyll wrtho. Canys pan êl vnwaith yno, yno yr erys yn dragywydd.

Pe bai hôll Angelion y nefoedd yn ymbil tros enaid colledig: pe damunei *Abraham*, *Isaac*, a *Jacob*: pe bai'r hôll Brophwydi, Apoftolion, a merthyri yn gwneuthur ymbil beunydd at Crift am ryddhad; Pe bai'r tad yn damuno tros y mab, ar fam tros y ferch, er hynny ni wrandewir ar neb: rhaid yw necau pawb.

Canys barn Crift ni ellir ei gwrth-droi. Ei ordinhad ef fydd anghyfnewidiol. Jawn yftyriaeth or pethau hyn a ddichon beri i bob calonnau ddychrynu, ac i bob gliniau grynu. Yn nhralliodau, a blinderau y byd hwn, er maint fyddo'r anghyflwr y fyrthio dyn ynddo, etto efe a ddichon ymddirwydo allan drachefn drwy ryw fodd neu gilydd, drwy arian, neu gyfeillach, neu werth, neu ryw gyffelyb fodd; ond yn nhan vffern dymma'r wafcfa

â bair

a bair ir galon anobeithio, nid amgen, nad oes mor * help iw gael.

* Amddiffyn.

Pe gofynnem i enaid colledig, neu i gydwybod gyſtuddiedig, pa bêth a roent am eſmwythyd, a rhyddhâd eu heneidiau: hwy â attebent, yr holl fyd: pa fodd bynnag y mae byd-ddynion difraw, a drygionus (y rhai ni wnant na gweled, na chlywed) heb wneuthur cyfrif o honaw.

Ac ymma, ar ein ffordd yſtyriwn faint yw'r golled am enaid dyn ; yr hyn beth e fydd haws ei ddeall,ai ddirnad, os medrwn oſod iawn werth, ac vnion bris ar yr enaid. Os gofynnir gan hynny beth yw prîs yr enaid, a pha faint a dal: Ein Harglwydd Jeſu â ettyb * y tal fwy nar hôll fyd : Canys medd ef. *Pa leſad yw i ddyn er ennill yr holl fyd o chyll ei enaid ei hun.*

* *Ei fod yn werthfawrocach na'r holl fyd.* Math. 16. 26.

Gan hynny y mae enaid y cardottyn tlottaf yn werth-fawroccach na'r holl fyd. Os yw yr enaid yn werth-fawroccach na'r hôll fyd, yna mwy yw'r golled am dano nac am yr holl fyd.

Oblegit mewn gwirionedd colled yw honno tu hwnt i bôb colledion. Colled aneſcorol. Pe lloſcai dŷ ddyn vwch ei ben, a bod y cwbl a feddai wedi ei ddifa mewn vn noſwaith, colled fawr fyddei honno: Pe collei marſiand-ŵr vgein-mîl o bunnau ar vn antur mewn vn llong, ac fel y dywedant ar vn ergid,colled fawr iawn fyddei:

Pe collei Brenhin ei goron, a'i deyrnas, hynny fyddai golled fawr dros ben: Eithr colled am yr enaid fyddei fil o weithiau mwy na'r rhai hyn ôll: Peth yw hyn o anfeidrol ystyriaeth.

Os bydd deiliad wedi myned yn * anghymeradwy gyd ai feistr tîr, y mae hynny yn achos o bryder iddo. Os bydd gwas i benaeth wedi ei fwrw ymmaith ar sorriant oddiwrth ei Arglwydd, ac ynteu yn dal cilwg iddo: achos yw i ddrwg sirio. Os bydd pendefig ei hunan wedi colli ei gymmeriad, ac allan o ffafor gyd a'i frenin, yngolwg yr hwn yr oedd efe gynt yn gymmeradwy, fe fydd drŵg gan ei galon: ond cael o ddŷn ei ddidoli oddiwrth Dduw yn dragwyddol, ei fwrw allan o'i ffafor ef, a'i droi ymmaith o'i ŵydd, ac o ŵydd ei Angelion, achos yw hynny o anfeidrol dristwch, a gofid. Edrychwch gan hynny, a deliwch sulw, beth ydyw i ddyn golli ei enaid.

* *Anffafor.*

Oh na byddai ddynion yn synhwyrol yn ofn Duw. Na chanfyddent mewn amser, ac na ddarparent dros eu eneidiau. Yr awrhon gan hynny i ddibennu y pwngc hwn, Crynodeb y cwbl a ddywedpwyd yw hyn, fod poenau vffern yn an-niweddedig, yn ddiseibiaut heb orphwysfa, yn anescorol ac anorchfygol.

Asune, *Eglurhad yr athrawiaeth hon am dan vffern, a'r farn i ddyfod syn peri i mi ofni,*

*a chrynu : E wnaeth hynny gythryfwl mawr ynof : mi â glywaf ddychryn creulon yn fy nghydwybod : yr wyf yn ofni fy môd yn golledig.*

*Antil.* Yn golledig wr ! pa ſon a wnewch chwi am fod yn golledig? y mae arnaf gywilydd eich clywed yn dywedyd felly. Oblegit fe wyddis yn dda eich bod yn ŵr ôneſt,yn byw yn llonydd,yn gymmydog da, ac yn gyſtal plwyfol ag vn-gŵr yn eich trêf. Ac chwi â gawſoch erioed eich cymmeryd, a'ch cyfrif felly : O byddech chwi colledig, nid adwaen i pwy â fydd cadwedig.

Aſune. *Nid gwaeth gennifi am eich gweniaith. Credu i Dduw yr wyfi,a chredu iw air yr wyf.*

Credu yr wyf yr holl bethau â adroddodd M. *Theologus* allan or Scrythyrau, gan hynodi i mi y bennod, ar adnod, â pha vn gymwyſaf i mi gredu, a'i yr Scrythyrau, ynteu eich gweniaith chwi, bernwch eich hunan. Nagê, nagê ; yr awrhon gweled yr wyf yn eglur yn nrych cyfraith Dduw, fod fy helynt i yn refynol ac yn doſturus. Canys myfi â fûm fyw mewn pechod, ac anwybodaeth holl ddyddiau fy enioes, yn llwyr anghrefyddol, ac heb wîr wybodaeth o Dduw.

Nid wyf fi y Cyfryw ŵr ac yr ydych chwi,ac eraill yn tybied fy môd : Oblegit er byw o honof yn ôneſt oddi-allan yngolwg

y

y byd, etto oddifewn ni bûm i yn byw felly tuag at Dduw.

*Antil.* Twsh, twsh, mi â welaf yr awrhon eich bod mewn rhyw synfeddyliau trist. Os deuwch adref gyd am fi, mi â fedraf roi i chwi feddiginiaeth odidog: Canys y mae gennifi lawer o lyfrau digrif, a difyrr: y rhai pe clywech eu darllain, a dynnai yn y fan y synfeddyliau hyn o'ch pen.

Nid amgen; Chwedlau *Arthur*: Cerdd *Taliesyn*: daroganeu *Merddin*; Cywyddau *Dafydd ap Gwilim*: Araith *Sion Tudr*, a chant o garolau merched: A llyfrau Saesonec digrif, a brintiwyd ganwaith; sef *Besys* o Hampton, a *Gei* o Warwic: a llawer o chwedlau digrif.

Asunet. *Eich llyfrau ofer yn llawn gwegi, chwedleuach, coegni a chelwyddd, a* chwanegent y hytrach syngofid i, ac a barent fwy tristid i'm calon.

*Antile.* Nagê os ydych or meddwl hwnnw, ni bydd i mi â wnel wyf a chwi.

*Phila.* Attolwg, os gellir bod mor hyf pa fodd y cawsoch chwi yr holl lyfrau da hynny, mi â ddylaswn ddywedyd, gymmaint o sothach ac oferedd.

*Antile.* Pa waeth i chwi pa fôdd? beth sy i chwi â ymmofynnoch; ond attolwg i'wch Syr pa feddwl sy gennych eu galw hwynt yn sothach, ac oferedd.

T 2 *Phila*

*Phila.* Oblegit nad ydynt ddim gwell: war wychion ydynt, mi a attebaf; ffardial odiaeth, cymwys i gynneu tan, neu i yſcubo ffwrn, Neu i gymmeryd Tobacco. Ac a ſynnwch i mi ddywedyd fy meddwl am danynt? hyn yr wyf yn ei dybied: Eu dychymmig gan ddiaſol, eu gweled, a'u cymeradwyo gan y Pâb: Eu printio yn vffern: Eu rhymo gan Ellyll: ac yn gyntaf eu cyhoeddi, au gwaſcaru yn Rhuſain, Idal, ac Hyſpaen, a'r cwbl ir perwyl hyn, nid amgen er mwyn cadw dynion ar waith oddi-wrth ddarllain yr Scrythyrau. Canys megis y bydd y Gornchwigl a'i mawrnâd yn denu dynion ymmaith oddiwrth ei nyth: felly y mae y Genedlaeth Babaidd drwy'r dychymmygion celwyddog hyn yn denu dynion oddi-wrth yr Scrythyrau.

*Antil.* Ha ſyr, mi â welaf yr awrhon mai buan y ſaetha ynfyd ei fôllt. Doeth yw ynfyd pan dawo. I ba beth yr yngenwch wrthif fi am eich meddwl: mi a ſynnwn pes gwypech nad oes gennifi brîs, nac am danoch chwi, nac am eich meddwl: y mae gwŷr callach na chwy chwi, â ddarllenant, ac a ganmolant y llyfrau hynny, ac a gymmerant ddifyrrwch ynddynt.

*Theol.* Gedwch iddo ef adolwyn, *Philagathus*; Canys chwi a welwch beth ſydd ynddo. Nid oes diben ar ei geccreth ef. Eithr yr hwn ſydd heb wybod, bydded heb wybod:

bod; ar neb sydd *aflan bydded yn aflan rhag llaw.* Datc. 22. 11.

Ond bellach moeswch droi ein ymmadrodd at *Asunetus*: Canys mi â welaf ei fod ete yn drîst ei galon, ac yn gythryblus yn ei feddwl. Pa fodd yr ydych *Asunetus*. Pa fodd yr ymglywch? mi â dybygwn eich bod yn brûdd iawn.

Asunet. *Gwell wyf o'ch plegit chwi Syr, diolch i Dduw: ni wybum er ioed beth oedd bechod, hyd heddyw; Rhyngodd bodd i Dduw yr awr-hon agoryd fy llygaid i weled, ac ymwrando ag ef; y mae cythryfwl mawr yn fynghydwybod wrth gofio beth a fum. Coffau fy mhechodau gynt sy'n peri dychryn ynof, pan ystyriwyf mor anwybodus, mor anghrefyddol, ac mor bell oddi-wrth Dduw y treuliais fy holl enioes: y mae hynny yn pigo, ac yn gwascu fynghalon.*

*Gweled yr wyfi yr awr-hon y peth nis gwelais erioed or blaen, a chlywed y peth ni chlywais erioed: Mi a welaf yn amlwg pe buaswn farw yn y cyflwr hwnnw y bum yn byw ynddo, yn ddiammeu mi a fuaswn damnedig, a cholledig yn dragwyddol yn fy mhechod, am hanwybodaeth.*

*Theol.* Y mae yn dda gan fynghalon agoryd o Dduw eich llygaid, a pheri i chwi weled, ac ymwrando ach trueni, yr hwn yw y cam cyntaf i fywyd tragwyddol. Caredigrwydd, a thrugaredd enwedigol oddi-

wrth Dduw tu ag attoch yw gynnyrfu o honaw eich calon: Ni ellwch byth fod yn ddigon diolch-gar iddo am hynny. Mwy ydyw, na phe rhoesid i chwi fyrddiwn o aurddarnau. Unig ragorfraint etholedigion Duw, yw cael llygaid eu eneidiau yn agored i ganfod pethau Nefol, ac ysprydol. Ac am y bŷd, cyfiawn yw gyd â Duw eu gadel yn eu dallineb.

Asune. *Yr wyf yn clywed baich fy mhechodau, y mae yn drwm dros ben arnaf trostynt. Yr wyf ynddeffygiol o honynt. Y mae yn ddrwg gennif bechu o honof erioed yn erbyn Duw: Neu fod o honof mor anhappus ai anfodloni ef, ac annog ei fawredd i'm herbyn. Ond attolwg i chwi Mr* Theologus *gan eich bod yn feddig ysprydol, a'm bod inneu yn glwyfus o bechod, roddi o honoch, i mi, allan o air Duw, beth Ysprydol feddiginiaeth a chyssur.*

*Theol.* Yn wir, rhaid i mi dybied fod yr addewidion a wneir yn yr Efengyl o drugaredd, yn perthyn i chwi, a bôd Jesu Grist yn eiddochwi: Y mae i chwi wir gyfiawnder a hawl ynddo ef.

Canys ni ddaeth efe *i alw y rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch*: Yr ydych
Mar. 2.17. chwi yr awr-hon yn eich clywed eich hûn yn bechadur, ac yn ymofidio am eich pechodau, gan fod yn flîn o honynt, am hynny y perthyn Jesu Grist i chwi, a holl lesâd ei

ddio-

ddioddefaint ef,chwi ai piau. Drachefn efe a ddywed. *Nid rhaid ir iâch wrth y meddig, ond ir rhai cleifion.* Eithr yr ydych chwi yn cydnabod eich bod yn glâf o bechod : am hynny Crist Jesu fydd feddig i chwi : *E*fe â rwyma eich doluriau, ai hymgeledda,ac ai hiachâ : Efe a dywallt yn eich briwiau olew ei drugaredd : efe â chwardd arnoch, ac a ddengys i chwi wyneprvd llawen : Efe a ddywed wrthych, maddeuwyd i ti dy bechodau. Mat. 9.12

Ynddo efe y cewch lonyddwch a hedd-wch i'ch enaid. Trwyddo ef y cewch esmwyth-dra,a chyssur. Canys tosturio a wna efe wrth bawb â alarant am eu pechodau fel yr ydych chwi. Eich gwahodd y mae a phawb o'ch cyflwr i ddyfod atto,er esmwythau arnoch.*Deuwch attaf fi (medd efe)bawb sy'n trafaelu,ac yn llwythog, ac myfi a esmwythâf arnoch.* Un ydych chwi or rhai a wahoddwyd i ddyfod : Canys llwythog ydych o'ch pechodau, a blîn yw gennych eu baich. Y cyfryw ac ydych chwi piau Crist yn gwbl. Nid yw efe yn gwneuthur cyfrif or bŷd,set o ddynion anghrefyddol â di-adenedig. Nid yw yn erchi iddynt hwy ddyfod, nid yw yn gweddio trostynt. *Nid wyfi yn gweddio tros y byd, (medd efe)* nid oes iddynt na rhan na hawl ynddo, nid oes iddynt a wnelont ag ef, nac ai haeddedigaethau, na'i gyfiawnder. Ir pechadur Math. 11. 28. Joa. 17.

chadur edifeiriol yn vnig y mae efe yn Achubwr, ac ir sawl â alarant tros eu pechodau.

Clustog fan-blu yw efe i'r holl bennau dolurus, ac ir cydwybodau cythryblus. Ymgyssurwch gan hynny, ac nac ofnwch: Canys yn ddiameu Crist, ai holl gyfiawnder sy eiddoch chwi, ac a hwn y gwisc efe chwi; ni ddyry efe byth eich pechodau i'ch erbyn: Er maint ydynt o nifer, er maint ydynt o bwys, efe a'i anghofia, ac a'i maddeu hwynt. Megis y dywed trwy'r Prophwyd: *Pe*
Esay. 1. 18. *byddei eich pechodau fel porphor, ant cyn wynned ar eira: Pe cochent fel scarlad byddant fel gwlan.* A thrachefn efe a ddywed trwy'r
Esay 44. 22. vn Prophwyd. *Dileais dy gamweddau fel cwmmwl, a'th bechodau fel niwl.* Trwy Brophwyd arall y dywed. *Efe a ddychwel,*
Mic. 7. 19. *ac a drugarha wrthym ac a ddarostwng ein anwiredd, ac a deifl ein holl bechodau i ddyfnderoedd y mor.* Drachefn y dywed drwy'r
Esay 43. 25. Prophwyd *Esay*: *Myfi, myfi yw'r hwn a ddilea dy gam-weddau er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau.*

Ac etto yn garediccach y dywed wrthym
Jer. 3. 12. drwy'r Prophwyd *Jeremy*: *Dychwel attaf, ac ni adawaf i'm llid syrthio arnat, canys trugarog ydwyfi, medd yr Arglwydd, ni ddaliaf lid yn dragywydd.* Ac eilchwel drwy'r
Hos. 11. 9. Prophwyd *Hosea* y dywed: *Ni chyflawnaf angerdd fy llid, ni ddychwelaf i ddinistrio Ephraim, canys Duw ydwyfi, ac nid dyn.*

Byddwch

Byddwch lawen gan hynny, ymgyssurwch ar addewidion hyn : y mae i chwi achos i fod yn llawen, gan weithio o Dduw ynoch anfodlonrhwydd,a galar am eich pechodau,yr hyn sydd argoel hynod,na wna eich pechodau i chwi byth ddim niwed.Canys pechodau or blaen ni allant i ni niwed os byddwn anfodlon i bechodau presennol. Chwi aethoch yn gâs gennych eich pechodau,galaru yr ydych tan eu baich, am hynny dedwydd ydych.Canys *gwyn eu byd y rhai galarus*:paham gan hynny y byddwch chwi mor drist, ac mor brudd : Cofiwch yr hyn â ddywed *S. Joan,Os pecha neb, y mae i ni ddadleu-wr gyd a'r Tad Jesu Grist y cyfiawn,ac efe yw yr aberth tros ein pechodau.S. Paul* â ddywed : 1 Jo.2.1,2
*fod Jesu Grist wedi ei osod yn iawn trwy ffydd yn ei waed ef.* Drachefn yr Yspryd Glân â ddywed: *Efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sy'n dyfod at Dduw, am ei fod efe yn byw bob amser i eiriol trostynt hwy.* Yr Apostol a ddywed : *Yr hwn a ddarfu i Dduw ei wneuthur yn ddoethineb i ni, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn ymwared.* Rhu. 3.25 Heb. 7.25 1Cor.1.30

Deliwch sulw ar yr hyn â ddywed, y cwbl sydd i ni, y cwbl iw eglwys ac i bob aelod o'i eglwys,ac am hynny i chwi. *Crist a wnaed gan Dduw yn gyfiawnder, sancteiddrwydd,ac ymwared i chwi.* Eich cyfryng-wr chwi yw Crist, a'ch Arch-offeiriad, ac

efe a offrymmodd yr aberth tragwyddol
ſef troſoch chwi, er mwyn talu eich prid-
werth chwi,a'ch gwared oddiwrth bob an-
wiredd. *Trwy ei waed ei hûn yr aeth efe i*
Heb.9.12. *mewn vnwaith ir cyſſegr, ac a gafas drag-*
*wyddol ollyngdod o gaethiwed. Nid aeth Criſt*
*i'r cyſſegr o waith llaw, yr hwn ſydd bortrei-*
*ad y gwir gyſſegr: eithr efe a aeth ir Ne-*
*foedd, i ymddangos yn awr ger bron Duw tro-*
Heb.9.24. *ſom ni. Yr Apoſtol* a ddywed: *yr hwn nid ad-*
2 Cor. 5. 21. *nabu bechod, a wnaeth efe yn bechod troſom*
*ni, fel i'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw*
Gal. 3.13. *ynddo ef. Criſt a wnaed yn felldith troſom*
*ni, fel i'n gwaredei ni oddiwrth felldith y*
*gyfraith*: Oh gan hynny mor ddedwydd
wyt ti yr hwn ſydd gennit y cyfryw gy-
fryng-wr, ac Arch-offeiriad.

Gollwng dy bwys yn gwbl arno ef, ac
ar yr aberth perffaith tragwyddol, a haedde-
digol a offrymmodd efe vnwaith troſot:
Cymhwyſa Griſt, cymhwyſa ei haeddedi-
gaethau, ai addewidion it dy hun, ac ith
gydwybod: felly y caiff dy enaid leſâd,a di-
ddanwch oddiwrthynt. Beth pe bai gennit
eli gwerth-fawr rhagorol, yr hwn a iachae
pa ddolur bynnag y goſodid arno; er hynny
os cadwech ef tan glô yn eich cîſt, heb ei o-
ſod vn amſer wrth y briw, pa leſad a allai i
chwi? Yr vn ffunyd cyfiawnder, a hae-
ddedigaethau Criſt ydynt eli Yſprydol, a
iacha bob math ar afiechyd yr enaid, eithr
oni

oni chymhwysſwn ef i ni ein hunain trwy ffydd,ni wna ddim lleſad i ni.Rhaid i chwi gan hynny gymhwyſo Criſt, a holl addewidion yr Efengyl i chwi eich hunain trwy ffydd,a bod yn ddiammeu gennych, pa beth bynnag a wnaeth Criſt ar y Groes, ei wneuthur o honaw troſoch chwi yn naill-tuol.

Oblegit beth yw y ffydd gyfiawnol ond crêd gyflawn gwbl-ſiccr o gariad enwedigol Duw tuag attom yng-Hriſt. Gwybodaeth gyffredin, ac an-ſiccr o Griſt, ac o'i Efengyl ni thyccia ddim i fywyd tragwyddol. Gwnewch eich goreu gan hynny, i gyrrhaedd yr iawn ddefnydd or holl addewidion gorcheſtol,a rhagorol hyn.

Glynwch yn dynn wrth Griſt, canys trwyddo ef yn vnig y mae i ni faddeuant pechodau, a bywyd tragwyddol. *Canys gyda hwn y mae'r holl Brophwydi yn teſtiolaethu* Acts 10. (medd *S.Petr*)*fod i bawb a gredo ynddo ef gael maddeuant am eu pechodau yn ei enw ef.* 43. Lle y mae'r Apoſtol yn dywedyd i ni,pe bai cwêſt mawr wedi ei wneuthur o Brophwydi,i dyſtiolaethu am y ffordd,ar moddion i fywyd tragwyddol,hwynt hwy oll o vnfryd a ddygent i mewn eu dedryd fod maddeuant pechodau, a bywyd tragwyddol yng-Hriſt yn vnig.Gwrandawn y *Fformon* yn dywedyd, * *Blaenor* ac vn,neu ddau or lleill ; canys *yngenau dau neu dri o dyſtion y bydd pob gair yn ſafadwy.*

Y

Y Prophwyd *Esay* a ddywed. *Efe a ar-*
Esa. 53. 5. *chollwyd am ein camweddau ni, ac a ddrylli-*
*wyd am ein hanwireddau ni, cospedigaeth ein*
*heddwch ni a roddwyd arno ef, a thrwy ei glei-*
*siau ef yr iachauwyd ni.* Ni a welwn fod y
Prophwyd mawr hwn yn dadleu yn eglur,
i Grist ddioddef tros ein pechodau, a thrwy
ei ddioddefaint ef i'n achubir ni.

Y Prophwyd *Jeremy* â dystiolaetha yr
vn peth, gan ddywedyd: *Wele y dyddi-*
*au yn dyfod ( medd yr Arglwydd ) fel y*
Jer. 23. 5. 6. *cyfodwyf i Ddafydd flagurun cyfiawn, yr*
*hwn a deyrnasa yn frenhin, ac a lwydda,*
*ac a wna farn, a chyfiawnder yn y tir, yn*
*ei ddyddiau ef yr Achubir Juda, ac Israel*
*a breswylia yn ddiogel, a hyn fydd ei enw*
*ar yr hwn y gelwir ef: Yr Arglwydd ein cy-*
*fiawnder.*

Y Prophwyd hwn â gyttuna ar llall,
canys efe â ddywed mai *Crist yw y blagu-*
*run cyfiawn, ac mai efe yw ein cyfiawnder*
*ni,* yr hyn yw'r vn ffunyd â phe dyweda-
sai, ein pechodau â faddeuwyd yn vnig
trwyddo ef; a thrwyddo ef y cyfiawnheir
ni. Ymhellach efe a ddywed yr achubir *Ju-*
*da,* ac *Israel,* nid amgen, yr eglwys trwy-
ddo ef.

Y Prophwyd *Zachari* a ddywed yr vn
peth, air yngair, ag â ddywedasant y ddau
Brophwydd eraill. *Y dydd hwnnw y bydd*
Zac. 13. 1. *ffynnon agored i dy Ddafydd ac i breswyl-*
*wyr*

*wyr Jerusalem, i olchi pechod, ac aflendid.* Meddwl y Prophwyd yw, yr agorir yn nyddiau teyrnas Grist, ffynnon trugaredd Dduw yng-Hrist, ac y gollyngir hi i redeg allan i olchi ymmaith bechodau, ac aflendid yr eglwys. Felly ni â welwn fod y tri thŷst hyn yn cyttuno a'u gilydd yn hyn o beth, sef mai trwy Grist yn vnig i'n glanheir oddiwrth ein pechodau, a thrwyddo ef yn vnig i'n gwneir yn gyfiawn.

Gan fod bywyd tragwyddol yn vnig yn y mâb, pwy bynnag sydd ganddo y mab sydd ganddo fywyd. Ymgyssurwch gan hynny o *Asunetus*, canys yn ddiammeu, y mae gennych chwi y mab, ac am hynny fywyd tragwyddol. Nac ofnwch eich pechodau, canys ni allant wneuthur i chwi niwed. 1 Jo. 3. 12.

Oblegit megis na ddichon holl gyfiawnder *Abraham, Isaac*, a *Jacob*, ar holl rai cyfiawnaf a fuant fyw erioed ar wyneb y ddaiar, pe bai yn eiddoch, ddim llesad i chwi heb Grist; felly ni dichon holl bechodau y bŷd wneuthur niwed i chwi, a chwithau yng-Hrist. *Oblegit nid oes damnedigaeth i'r rhai sy yng-Hrist Jesu.* Cyfodwch i fynu eich calon gan hynny, na fyddwch mwyach yn drwm, ac yn drist. Rhuf. 8. 1

Canys os ceir chwi yng-Hrist wedi eich dilladu a'i gyfiawnder perffaith ef, ac yntef wedi ei wneuthur yn eiddoch chwi trwy ffydd, beth a ddichon diafol ei ddywedyd

wrthych?

wrthych? Beth a dichon y gyfraith? hawdd y gallant estyn eu colynnau tuag attoch, ond ni allant eich briwo: Oblegit
*Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion*
Rut. 8.33, *Duw? Duw yw'r hwn sydd yn cyfiawnhau,*
34. *pwy a ddamna? Crist yw'r hwn a fu farw, ie yn hytrach yr vn a gyfodwyd trachefn, yr hwn hefyd sydd ar ddeheu-law Duw, yr hwn*
Phil. 4. 4. *hefyd sydd yn eiriol trosom ni. Ymlawenhewch gan hynny yn yr Arglwydd, a thrachefn meddaf ymlawenhewch.* Canys mwy yw'r hwn sydd ynoch chwi, na'r hwn sydd yn y byd.

Ein Harglwydd Jesu sydd gryfach na phawb oll. Ni ddichon nêb eich tynnu chwi allan o'i ddwylaw ef. Cyfryngwr cadarn yw efe: Efe a orchfygodd ein holl elynion ysprydol; Efe a orchfygodd farwolaeth, vffern, a damnedigaeth: Efe a *gaethglu-*
Col. 2.15. *dodd gaethiwed, a yspeiliodd y tywysogaethau, a'r galluoedd, ac ai herddangosodd hwy yn gyhoeddus, gan orfoleddu arnynt ynddo ei hun.*

Efe yn dra-gorfoleddus a ddywe-
Hos. 13. 9. dodd. *Byddaf angeu i ti, o angeu, byddaf drangc iti o vffern; O vffern pa le y mae dy*
1 Cor. 15, *golyn, O angeu pa le y mae dy fuddugo-*
55. *liaeth?*

Gan fod gennych y cyfryw Gyfryngwr, y cyfryw Arch-offeiriad yr hwn a orchfygodd y llu vffernol, ac a ddarostyngodd

yr

yr holl allu cythreulig, pa raid i chwi ammeu, pa raid i chwi ofni mwyach?

Ymhellach rhaid i chwi ddeall, a chredu fod trugaredd Dduw yn dra ehang tuag at bechaduriaid edifeiriol, ar rhai a alarant am eu troseddau, megis ac y dywed: *Pa bryd bynnag yr edifarhao pechadur o'i bechod o ddyfnder ei galon, efe a ollwng tros gof yr holl anwiredd a wnaeth efe.* Y Prophwyd *Dafydd* sydd yn *portreiadu* yn eglur, ac yn datcan yn helaeth, drugarog naturiaeth Dduw yn y cansed ar trydydd Psal. *Trugarog a graslawn yw'r Arglwydd: hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarogrwydd. Nid byth yr ymryson efe, ac nid byth y ceidw efe ei ddigofaint, nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe a ni, ac nid yn ol ein anwireddau y talodd efe i ni. Canys cyfuwch ac yw'r nefoedd uwch law'r ddaiar, y rhagorodd ei drugaredd ef ar y rhai ai hofnant ef: Cyn belled ac yw'r dwyrain oddiwrth y gorllewin y pellhaodd efe ein camweddau oddi-wrthym. Fel y tosturia tad wrth ei blant, y tosturiodd yr Arglwydd wrth y rhai ai hofnant. Canys efe a adwaenei ein defnydd ni, cofiodd mai llwch oeddem.* Psal. 103.

Stori y mab colledig a ddengys yn odiaeth ryfeddol drugaredd Dduw tu ag at bechaduriaid edifarus. Yno y dangosir pa wedd y mae' Arglwydd yn croesawy, yn cofleidio, ac yn mawrhau y cyfryw bechaduriaid trucin,

ein, ac fydd ganddynt galonnau dryllioga cyftuddiedig am eu pechodau. Canys fe a ddywedir, pan welodd y Tad ei fab edifarus o hir-bell oddi-wrtho, iddo *dofturio*
Luc.15.20 *wrtho, a rhedeg, a fyrthio ar ei wdd ef, ai guffanu, a'i ddilladu a'r wifc oreu, a rhoi modrwy ar ei law, ac efcidiau am ei draed, a pheri lladd y llo bras iddo*: yn yr vn modd y llawenycha y Tad tragwyddol am ymchweliad vn o'i feibion colledig. Ie y mae llawenydd yngŵydd Angelion Duw am vn pechadur a ymchwelo.

Ymhellach, yr Arglwydd fydd yn hyfpyfu yn draeglur, ei barodrwydd, a'i hynawfedd i drugarhau, am fod yn anhawdd dros ben ganddo, ac yn wrthwyneb mawr, ein gollwng o'i fôdd i fyned yn golledig. Am hynny mynych yn yr Scrythyrau y mae efe yn galaru drofom, ac yn cwynfan am ein trueni, drwy wneuthur llawer galarnad toftu-
Pfa.81.13. rus am danom, gan ddywedyd. *O na wrandawei fy mhobl arnaf, ac na rodiafai Ifrael yn*
Efa.48.18 *fy ffyrdd.* A thrachefn: *Oh na wrandawfit ar fyngorchymynion, yna y buafai dylwyddiant fel afon, a'th gyfiawnder fel tonnau y mor.* Drachefn y mae efe yn alarus yn achwyn drwy'r
Hosea 6.4. Prophwyd *Hofea* gan ddywedyd. *Oh Ephraim pa beth a wnaf it? O Juda beth a wnaf i*
Efay 5.4. *ti?* Ac mewn lle arall: *Beth oedd iw wneuthur ychwaneg i'm gwinllan nag a wneuthum iddi?* Deliwch fulw ymma mor do-

ſturus

ſiurus y mae'r Arglwydd yn cwynſan troſom, ac megis yn wylo ar ein briwiau.

Yr Apoſtol heſyd ſy'n dal ar oludog drugaredd Dduw, a'i ryſeddol gariad ef tu ag at ddyn, wrth ei fod yn ymbil a ni, ac yn attolwg drwy weinidogion yr Efengyl gymmodi o honom ag ef. Y geiriau ydynt y rhai hyn. *Am hynny yr ydym ni yn Gennadon tros Griſt, megis pe byddei Dduw yn ymbil a chwi trwyddom ni:; yr ydym yn attolwg i chwi tros Griſt, cymmodwch a Duw.* Ond rhyfedd yw fod yr Holl-alluog dduw yn ymbîl a ni drueiniaid gwael? Yr vn modd ydyw a phe bai Brenhin yn ymbîl a chardotdyn, yr hwn a allai ei orchymmyn. Eithr anfeidrol drugaredd Dduw tu ag at ddyn ſydd fwyaf dim yn ſefyll yn hyn, ſef rhoddi o honaw ei Fab troſom pan oeddem yn elynion iddo. 2Cor.5.20

*Felly y carodd Duw y byd fel y rhoddes efe ei vnig-anedig fab, fel na choller neb ar y ſydd yn credu ynddo ef, eithr caffael o honaw ef fywyd tragwyddol.* Drachefn: *Y mae Duw yn * eglurhau ei gariad tu ag attom, oblegit (a ni etto yn bechaduriaid) marw o Griſt troſom; mwy ynteu o lawer gan ein cyfiawnhau ni trwy ei waed ef, i'n hachubir rhag digofaint trwyddo ef. Canys os pan oeddem elynion i'n heddychwyd a Duw trwy farwolaeth ei fab ef, mwy o lawer wedi ein heddychu i'n achubir trwy ei fywyd ef.* Yn hyn oll ni Joan. 3.16 Rhuf. 5.8, 9, 10. * Canmol.

hi a allwn weled yn eglur, anfeidrol drugaredd Dduw tu ag attom ni bechaduriaid truein.

Oblegit onid mawr oedd yr orchest, gymmeryd o Fab Duw ein naturiaeth ni arno? ac *ymddarostwng i angeu, sef i angeu'r groes?* Canys megis yr aeth cyscod y deial ddêg o raddau yn ol, fel yr estynnid dyddiau *Ezechias*, ac y cai lwyddiant mawr; Felly yr aeth Crist, Haul cyfiawnder, lawer gradd yn ôl fel y caem ni fywyd tragwyddol. Gan hynny ei ostyngiad ef yw ein derchafiad ni: ei ddioddefiadau ef yw ein llawenydd ni: a'i farwolaeth ef yw ein bywyd ni. Canys nid oes gennym ni ddim amgen ymwared, a chymmorth, ond yn vnig ei haeddedigaethau ef, a'i gyfiawnder.

Phil. 2.8.

Efe yw ein noddfa ni, lle y mae yn rhaid i ni ffoi, ac lle y mae yn rhaid i ni gymmeryd noddfa. Efe yw olew *Gilead* i iachau ein eneidiau ni. Efe yw y llynn yn *Bethesda* lle yr iacheir pob dyn, o ba glefyd bynnag a fo arno.

Joan 5. 2.

Efe yw yr Afon *Jorddonen*, lle y gall *Naaman* olchi ymmaith ei holl wahanglwyf: Efe yw y Pelican yr hwn drwy bigo twll yn ei ddwyfron ei hûn, sy'n adfywhau ei gywion, ai waed ei hûn. Etto vn peth sydd raid i ni ddal sulw arno ar y ffordd, yr hwn y soniwyd am dano o'r blaen, sef y dylid cymhwyso holl haeddedigaethau

digathau Crist, a holl drugaredd Dduw ir etholedigion yn vnig: Yn vnig i wir aelodau yr eglwys fel yr ymddengys yn oleu yn y 103 *Psalm*; lle y cyfrifir trugareddau Duw, y rhai a goffeir yn helaeth, yn vnig *ir sawl ai hofnant ef, a gadwant ei gyfammod, ac a gofiant ei orchymmynion ef iw gwneuthur hwynt*. Ac am Grist, fe a ddywedir mai Tywysog yw efe, ac Achub-wr i *Israel*, ac y gwared efe *Israel* rhag ei holl anwireddau. Psa. 130.8 Acts 5.31.

Drachefn scritennedig yw, fod Crist hwyn gyntaf y cyssegrwyd ef, wedi ei wneuthur, *yn awdur iechydwriaeth tragwyddol ir rhai a vfyddant iddo*. Nid oes neb yn vfyddhau iddo ac nis gall, oddi eithr yn vnig yr etholedigion. Am hynny awdur iechydwriaeth yw efe yn vnig ir etholedigion. Ac yn ddilynawl y byd drygionus beth bynnag a ddywedant, beth bynnag a fostiant, ac a ymffrostiant, nid oes ganddynt ddim gwir hawl, neu gyfiawnder ynddo ef. Y peth yma a arwyddoceid gynt yn y gyfraith wrth hyn, nid amgen, fod y drugareddfa yr hon oedd arwydd o drugaredd Dduw yng-Hrist, ar Arch yr hon oedd bortreiad or Eglwys, wrth orchymyn Duw wedi eu cydgymhwyso ai gilydd o ran hŷd a llêd. Canys megis yr oedd yr Arch yn ddau gufydd a hanner o hŷd, ac yn gufydd a hanner o lêd, yr vn faint oeddy dru- Heb. 5. 9. Exod. 25. 10, 17.

drugareddfa : gan arwyddocau wrth hynny y cymhwyſid trugaredd Dduw yng-Hriſt yn vnig ir eglwys, ac ir eglwys yn vnig y perthynei, fel na byddei gymmaint ag vn, allan or eglwys yn gadwedig.

Oblegit y neb nid oes ganddo yr eglwys iddo yn fam, ni all efe gael Duw iddo yn Dad. Yn ddiweddaf y mae yn rhaid i ni ddal ſulw mai megis y mae Duw yn anfeidrol ei drugaredd,ac yn fawr ei doſturi tu ag at bechaduriaid edifarus : felly y mae efe hefyd yn ddianwadal wrth ddangos ei drugaredd iw blant. Ac am hynny y mae vn or
Pſal. 136. *Pſalmeu* yn odlu fel hyn : *ei drugaredd a beru yn dragywydd*; *ei drugaredd a beru yn dragywydd*; *ei drugaredd a beru yn dragywydd*; gan bennodi wrth hynny ddianwadalwch a thragwyddoldeb trugaredd Dduw. Ir perwyl ymma yr ſcrifennir fel hyn. *Trugaredd*
Gala.3.22. *yr Arglwydd yw na'n difethwyd : o herwydd na phalla ei doſturiaethau ef.* Gwybyddwn gan hynny fod Duw o herwydd ei drugaredd iw blant yn ddianwadal,ac yn anghyfnewidiol ei naturiaeth. Megis y dywed,
Mal. 3. 6. *myfi wyf yr Arglwydd, ac ni'm newidir.* Oblegit pe bai Dduw o naturiaeth gyfnewidiol fel yr ydym ni, a darostyngedig i wynniau, yna y byddem ni mewn cyflwr greſynol. Yna rhaid fyddei iddo ein cyſtuddio ni bob dydd,a dial arnom bob awr yn y dydd: o herwydd ein bod ni yn ei gyffroi

ef

ef bob dydd,a phôb awr yn y dydd : Eithr nid yw Duw Nefol yn debig i ddyn, yn ddarostyngedig i wynniau, ac anwydau : y mae efe yn dradianwadal, ac anghyfnewidiol ei naturiaeth.

Oblegit er i ni ei gyffroi ef bob dydd a phechodau o newydd : etto y mae efe mor anhawdd ganddo ddial arnom, ai fod y dydd nesaf yn ein gwobrwyo ni a thrugaredd o newydd ; ac yn torri ymlaen trwy bob angharedigrwydd i ddangos i ni garedigrwydd. A thrwy ein holl ddrygioni i ddangos i ni ddaioni. Ni all ein hôll wendid ni beri iddo ef sorri wrthym, na pheidio a'n caru. Y mae efe yn fodlon i'n cymmeryd ni a'n holl feiau : ac i'n hoffi yn anwyl, er bod ein beiau yn fawr. Nid yw efe yn gwneuthur cyfrif o'n gwendid, er ein bod weithiau yn wrthnyssig, ac yn gyndyn ; etto er hynny ei gŷd, nid anllai i'n car ni.

Megis mam anwyl er iw phlentyn lefain ar hyd y nôs, a bod yn anynad,ac yn anhywaith hyd, pan na allo hi yn fynych huno amrant vn awr yn y nôs , ie er dioddef o honi lawer o anhyweithder, lludded,a gofid gyd ag ef : etto pan gyfodo hi y boreu,hi ai car ef gystal-cynt : a chwery ag ef,a wena,ac a chwardd arno : felly Duw yr hôll drugareddau,yr hwn a'n car ni yn fwy o lawer nag y car mammau eu plant, er ein bod

bod ni yn ei ddigio ef beunydd drwy ein gwendid, an car ni er hynny nid dim llai: ac ſydd fodlon ganddo roi heibio y cwbl, anghofio a maddeu y cyſan: Canys caru a wna efe yn dra dianwadal.

Lle y goſodo efe vnwaith, ac y ſefydlo ei gariad, caru a wna yn ddiyſcog, ni all dim ei newidio, ni all dim ei ſymmudo. Megis tad pan gwympo ei ddyn-bychan, a thorri ei grimmog, neu friwo ei wyneb cyn belled ydyw oddiwrth gymmeryd anfodlonrhwydd, neu ddigio wrtho, ai fod yn hytrach yn greſynu, ac yn ddrwg ganddo troſto ef, ac yn ceiſio meddiginiaeth iw friw: Felly ein tad trugarog ninnau ni ddigia er dim, ac nid anfodlona am ein beiau ni o wendib, ond yn hytrach a doſturia wrthym, ac a reſyna troſom; megis gŵr cail anwyl ganddo ei wraig, er bod ynddi hi lawer o wendid, etto efe yn gwybod fod yn anwyl ganddi ef, a bod ei chalon gyd ag ef, a ymfodlona i ollwng heibio lawer o feiau, eu celu, a chydddwyn ag hwynt, ie ac i wneuthur ychydig cyfrif o honynt, ond ei charu hi nid dim llai o'u plegit.

Felly ein gŵr anwyl, an priod-fab Jeſu Griſt, o herwydd ei fod yn gwybod y carwn ni ef, a bod ein calonnau gyd ag ef, ſydd fodlon ganddo gyd-ddwyn a'n holl wendid, a gwneuthur cyfrif bychan o honynt. Or achos hyn y digwydda ei fod efe yn dywedyd

dyd wrth ei briod-ferch yn y Caniadau: er ei bod yn dywyll, ac yn llawn o wendid: *Wele mor hyfryd wyt fy nyweddi, wele mor hyfryd wyt, wele yr wyt ti yn deg, yr wyt ti yn deg fy nyweddi, nid oes brycheun ynot ti.* Deliwch sulw ei fod efe yn galw ei eglwys yn hyfryd, yn hyfryd oll, ac heb frychni, nid o herwydd ei bod hi felly ynddi ei hûn, ond o herwydd iddo ef ei gwneuthur hi felly. Ac yn ddiammeu y Tragwyddol Dduw yn craffu arni hi yn ei Fâb, ai cyfrif hi felly: Canys megis y mae'r hwn â edrycho ar ryw beth drwy wydr coch, yn tybied fod y peth yn gôch fel y mae lliw y gwydr: Felly Duw Tâd, wrth graffu arnom yn ei fab, a'n cyfrif, ac a'n cymmer fel pe baem or vn naturiaeth, a chynneddfau, ac yw ei fâb, nid amgen yn gyfiawn-berffaith. Or achos hon i'n carodd ni, ac y serchodd ynom, ac ni chilia efe oddiwrthym. Can. Sol. 4. 1, 7, 10.

Canys ei gariad ef iw blant sydd beunydd yr vn, a'r vnrhyw; er nad ydym ni bob amser yn ei weled ac yn ei glywed ef yn yr vn môdd: megis y mae'r lleuad yr vn bob amser o ran sylwedd, a mantioli; er ei bod weithiau yn ein golwg ni wedi darfod, ac yn myned ar gîl: Gwybyddwn gan hynny i'n cyssur rhagorol, fod cariad Duw tu ag attom ni yn ei anwyl fâb yn ddiyscog, ac yn vnrhyw bob amser, ac na

ddiga-

ddigalonna efe ni, ac na thry ni heibio er ychydig wendid, ie er llawer o' wendid.

Oblegit y mae y trugarog Dduw yn gwneuthur cyfrif o'i blant, am fod eu cariad cyffredin hwynt yn dda, a bod y rhan fwyaf o yftod eu buchedd yn tueddu i gyfiawnder, pa fodd bynnag y digwyddo iddynt dreillio ym mhell, a throi yma a thraw mewn gweithredoedd neilltuol.

Nid yw dwy, neu dair o iafau y cryd argoel diammeu fod y corph yn afiachus; na dau, neu dri o ddiwrnodau da, yn arwydd hynod fod y corph yn holl iach: yr vn ffunyd nid yw ychydig wendid yn arwydd o ddyn drygionus: neu ddwy, neu dair o weithredoedd da yn argoel o ddyn da: Ond rhaid i ni ddal fulw ar yftod cyffredin buchedd dyn, ac wrth hynny y gwir adwaenir ef, pa fath ydyw.

Megis y dywedir fod dynion mewn gwirionedd yn rhodio mewn ffordd, pan fyddont yn cerdded ar hyd-ddi, er eu bod weithiau yn llithro, ac yn tramgwyddo arni: felly y mae plant Duw yn rhodio ar ffordd cyfiawnder er eu bod weithiau yn llithro, ac yn treillio oddi-arni; neu weithiau yn cael eu llufco allan o honi drwy drais lladron.

Oblegit Satan, a thrais ein trachwantau, a'n tynnant yn fynych oddiar y ffordd, ond rhaid i ni ddychwelyd iddi trachefn

hwyn

hwyn gyntaf ac y gallom ddiangc. Bellach i dynnu at ddiben. Gan fod Duw yn anfeidrol o drugaredd, ac yn ddi-anwadal yn ei drugaredd: Gan fod y fâth addewidion rhagorol wedi eu gwneuthur i ni yng-Hrist: Gan nad yw Duw yn dal ar ein gwendid pan fyddo ein calonnau gyd ag ef. Am hynny o *Asunetus*, byddwch gyssurus, na chyffroer dim arnoch: nac ofnwch gynllwynion diafol, na wnewch gyfrif o'i brofedigaethau ef: Canys diau fod eich pechodau wedi eu maddeu.

Eiddo chwi yw Crist, eiddoch chwi yw'r nefoedd, a hôll addewidion bywyd, ac iechydwriaeth a berthyn i chwi: fel nad yw raid i chwi ammeu, ni ellwch fyned ar y gwaethaf: eich enw sydd scrifennedig yn llyfr y bywyd.

Asune. *Yr wyf yn cael cyssur a diddanwch mawr oddi-wrth eich geiriau chwi. Eich gwaith chwi yn pregethu'r Efengyl, ac yn yspysu helaeth drugaredd Dduw yng-Hrist, ai addewidion ef, sydd yn fy adfywio i yn rhagorol, ac megis yn rhoddi bywyd o newydd ynof: megis gwîn, a siwgwr ydynt i'm henaid, a melusach na'r mêl, ie na'r dil mêl. Megis meddiginiaeth ydynt i'm henaid clwyfus, ac megis ennaint i'm doluriau ysprydol.*

*Yn awr yr wyf yn gweled pa drueni sy mewn dyn, a pha drugaredd sydd yn Nuw.*

*Ac mi a adwaen wrth brawf gresynol, lle na chlywir trueni, nad oes yno gyfrif am drugaredd.*

*Oblegit i Dduw yr wyf yn diolch am dano, yn awr yr wyf yn dechreu cyrhaeddyd peth crediniaeth, fod addewidion Duw yn perthyn i mi, fod fy mhechodau wedi eu maddeu, a'm bod i yn vn or rhai a fyddant cadwedig.*

*Theol.* Y mae yn dda gan fy-nghalon ddarfod i Dduw yn ôl golud ei drugaredd weithio ynoch chwi y daioni hwn: yr wyf o eigion fynghalon yn rhoddi iddo ef y moliant ar gogoniant am dano. Dedwydd ydych eich geni i weithio o Dduw ynoch waith mor raslawn. Ei ffafor ragorol ef ydyw hyn, a'i drugaredd enwedigol tuag attoch: Oblegit gwir edifarhau, a chredu yw vnig rhydd-did, a brenhinol ragor-fraint plant Duw.

Attolygaf i Duw gan hynny an-chwanegu eich ffydd, ach llenwi o bôb cyflawnder llawenydd, a thangnheddyf drwy gredu, fel y galloch amlhau mewn gobaith drwy allu yr Yspryd Glân.

*Antil.* Y mae'r haul yn tynnu yn isfel *Asunetus*; madws yw i mi, ac i chwithau fod yn myned ymmaith.

*Phila.* Yn sicer y nôs â ddaw yn fuan, ac am hynny anghenrhaid yw i ni fyned ymmaith.

*Theol.*

*Theol*. Gan ei bod hi felly, ni â beidiwn ymma, ac nid âwn ddim pellach.

Asune. *Sir, mi â gymmeraf fyngbennad gyd â chwi dros hyn o amser, ni allaf fyth fod yn ddigon diolchgar am yr holl addysc ddaionus, ar cyngborion godidog a glywais gennych heddyw; Gobeithio y cofiaf rai o honynt tra fyddwyf byw: yr wyf gan hynny yn moliannu Duw trosoch, ac am eich cyngorion, ac am y dydd heddyw, yr hwn yr wyf yn gobethio, a fydd y dydd cyntaf o'm edifeirwch i ac o'm ymchweliad at Dduw.*

*Theol* Yr Arglwydd er mwyn ei anfeidrol drugaredd ai caniadhao. Ac yr wyf yn attolwg i'r Goruchaf Dduw eich cadarnhau chwi ai lân yspryd, fel y galloch gynnyddu, a myned rhagoch mewn helynt Gristianogaidd hyd y diwedd.

*Phila*. Attolwg i chwi M. *Theologus* maddeuwch i mi fod o honof yn dra hŷf i ofyn llawer o gwestiwnau, ym mhâ rai i'm bodlonasoch i yn helaeth i fawr lawenydd a diddanwch fynghalon: yr wyf am hynny yn diolch i Dduw trosoch: a gobeithio yr wyf na ollyngaf byth tros gof rai o'r pethau â adroddasoch. Ond yr awr-hon mi a'ch gorchymynnaf chwi i Dduw, ac i air ei râd ef, yr hwn â ddichon ein adeiladu ym mhellach.

*Theol*. Byddwch iâch *Philagathus*. Yr Arglwydd a'ch bendithio, ac a'ch cadwo

yn eich holl ffyrdd: Ar Duw nefol a'n cadwo oll, ac an coleddo yn ei ofn ef hyd y diwedd.

*Rhodder yr holl ogoniant i Dduw.*

*TERFYN.*

---

# Boreuol weddi iw harfer mewn teuluoedd neillduol.

O Arglwydd ein Duw, a'n Nefol Dad, nyni dy blant anheilwng ydym wedi dyfod ymma o flaen dy sancteiddiaf, a'th Nefol bresennoldeb i roi it foliant, a gogoniant, am dy holl helaeth drugareddau, a'th amryw fendithion tu ag attom; yn bendifaddeu am i ti ein cadw y nôs hon a aeth heibio rhag ei holl beryglon, a'i hofn, a rhoddi esmwythdra i'n cyrph; ac am ein cadw yn ddiangol hyd ddechreu y dydd heddyw, ac wyt yn awr yn adnewyddu drachefn dy holl drugareddau arnom, fel yr adnewydda yr eryr ei bîg, gan ddanfon i ni bób

peth

peth yn helaeth iw mwynhau, megis ymborth, dillad, iechyd, heddwch, rhydd-did a diogelwch oddiwrth lawer o drueni, afiechyd, drŵg ddamweiniau, ac adfydwch, i ba rai yr ydym ni yn ddarostyngedig yn y bywyd ymma bob munyd awr; Ac nid hynny yn vnig, ond hefyd am fod yn wiw gennit roddi i ni lawer o bethau daionus, nid yn vnig wrth ein angenrhaid, ond i'n difyrrwch hefyd.

Eithr yn fwy na dim oll, (garediccaf Dâd) yr ydym yn moliannu dy enw am fendith bywyd fydd well, yn enwedig am dy Sancteiddiaf air a'th Sacramentau, ar hôll ddaioni yr ydym yn ei fwynhau oddiwrthynt; am dy fod yn cynnal dy Efengyl yn ein plith, am farwolaeth dy fâb, ar hôll ddedwyddyd â dderbyniwn oddi wrtho. O Arglwydd, agor ein llygaid bob dydd fwyfwy i weled, ac i ystyried dy fawr, a'th ryfeddol gariad tu ag attom, yn yr holl bethau hyn, fel drwy ddyledus ystyried o honynt y tynner ein calonnau yn nês attat, i'th garu fwy-fwy, i'th ofni, ac i vfyddhau it: fel megis y mae dy drugaredd tuag attom wedi ymehangu, felly yr ymehangom ninneu tu ag attat mewn diolchgarwch, ac fel yr wyt ti yn amlhau tu ag attom mewn daioni, Felly yr amlhaom ninnau tu ag attat mewn vfydd-dod, a chariad.

Ac yn gymmaint (O garediccaf Dâd) ac nad wyt ti yn deffygio vn amser yn dangos i ni ddaioni, er maint ein anheilyngdod, an drygioni. Am hynny bydded i ysfyriaeth o'th fawr drugaredd, a'th dadol garedigrwydd tu ag attom, megis orchfygu ein calonnau, a'n cymmell i ddyfod i'th ogoneddus wydd di a chaniad newydd o ddiolchgarwch yn ein geneuau. Attolwg i ti o drugaroccaf Dâd faddeu i ni ein hôll anniolchgarwch, anghar edigrwydd, aflendid, a'n mawr gam-arfer ar dy hôll drugareddau, yn enwedig ein cam-arfer a'n dirmig ar dy Efengyl, gyd â hôll bechodau eraill ein buchedd, y rhai yr ydym yn cyfaddeu eu bod yn anneirif, ac yn amlach nac y gellir eu cyfrif, yn gystal drwy adael heb wneuthur pethau daionus, a gwneuthur pethau drygionus. Nyni yn ostyngedig â attolygwn i ti eu trosglwyddo hwynt at y cyfrif a wnaeth dy Fâb Christ trostynt ar y groes, ac na roddech byth yr vn o honynt i'n herbyn, ond o'th raslondeb anghofia, a maddeu y cwbl. Hoelia yn dynn ein hôll bechodau ni, wrth groes Crist, clâdd hwynt yn ei fedd ef, trocha hwynt yn ei waed, cuddia hwynt yn ei archollion ef, na âd iddynt byth gyfodi mewn barn i'n herbyn.

Rhyddhâ ni oddiwrth y trueni a ddigwydd i ni o'u plegit, ac attal y dialeddau i ddyfod,

ddyfod, ar enaid, a chorph, y golud, ar enw da. Ymgymmoda â ni yn dy annwyl Fâb, am bob achosion â aeth heibio, heb vnwaith atgoffa, neu ail-fôn wrthym ein hên a'n ffiaidd anwireddau, eithr derbyn ni yn gyfiawn ynddo ef, gan gyfrif ei gyfiawnder ef i ni, a'n pechodau ninnau iddo yntef. Bodloned ei gyfiawnder ef dy gyfiawnder di am ein holl anghyfiawnder ni. Bydded ei vfydd-dod ef dros ein anvfydd-dod ni. Ei berffeithrwydd ef tros ein amherffeithrwydd ni. Ym hellach nyni yn oftyngedig â attolygwn i'th ddaionus fawredd roi i ni wir olwg, ac ymwrando an hamryw bechodau, fel na'n daller ganddynt drwy ddigrifwch, ac na'n caleder ynddynt drwy hir arfer, fel y digwydda ir gwrthodedig: Ond bod o honom yn flinderog o honynt, ac yn ymofidio am danynt; gan ymnerthu, ac ymegnio i ymadel oddi-wrthynt. O Dâd daionus cynnyrfa ein calonnau ni a gwîr edifeirwch am bob pechod, na chymmerom ddim difyrrwch mewn neb rhyw fâth ar bechod: Ond er ein bod ni yn fyrthio o wendid (megis yr ydym yn cwympio yn fynych) etto na âd i ni byth lwyr fyrthio, na âd i ni orwedd nac aros mewn pechod, eithr cryfhâ ni i gyfodi ar ein traed eilwaith, ac i ddychwelyd attat ti an holl galonnau, ac i'th geisio di tra fyddych i'th gael, ac tra

y cynnigiech i ni râd, a thrugaredd.

O Arglwydd anchwanega ynom wîr a bywiol ffydd drwy yr hon y gallom gymmeryd gafael sicer yn dy fâb Crist, a chwbl ymsodloni yn ei haedddedigaethau ef. Dyro i ni ffydd ddiymmod i gredu'r holl addewidion rhagorol, a graslawn â wnaed yn yr Efengyl; a chryfha ni oddi-vchod i rodio ac amlhâu ym mhob gwir, a chwbliach ffrwythau ffydd: Rhodiwn nid ar ôl y cnawd, ond ar ôl yr Yspryd.

Pâr i ni glywed grym marwolaeth dy Fâb yn marwhau pechod yn ein cyrph marwol, a rhinwedd ei adgyfodiad ef i'n hadgyfodi ninnau i newydd-deb buchedd.

Pâr i ni gynnyddu bennydd yn sancteiddiad yr Yspryd, a marwhâd y cnawd, fel y byddom byw yn sanctaidd yn gyfiawn, ac yn sobr yn y byd presennol drygionus hwn, gan osod allan dy rinweddau di yn ein hôll weithredoedd neillduol, fel yr harddom ein sancteiddiolaf broffes, ac y disclairiom megis goleuadau ynghanol cenedlaeth wrthnyssig, a throsaus, ymysc y rhai yr ydym ni yn byw, gan fod yn gynorthwyol i bawb yn ein buchedd a'n ymarweddiad, ac heb roi achos tramgwydd i nêb.

Ac er mwyn hyn Attolŵg i ti ein llenwi ni a'th yspryd, ac a phôb rhadau ysprydol, megis cariad, doethineb, dioddefgarwch,

garwch, bodlonrhwydd, lledneisrhwydd, gostyngeiddrwydd, cymmedrolder, diweirdeb, caredigrwydd, a thiriondeb: A dadebra ni i arfer gweddi, ac i fod yn wiliadwrus, gan ddarllain, a myfyrio yn dy gyfraith, a phôb cyfryngau buddiol eraill i beri i ni dyfu, ac amlhau ym mhôb rhinweddau nefol.

Bendithia ni yn yr ymarfer or moddion o ddydd i ddydd: gwna ni yn gyfryw, ac y mynnit ein bôd, ac yn gyfryw ac yr ewyllysiem ninnau fod, gan weithio ynom yr ewyllysio a'r gweithredu, yr arfaeth ar gallu.

Oblegit tydi O Arglwydd wyt ôll yn ôll, Ti â drugarhei wrth y neb y trugarhaech, ar neb a fynnech a galedi. Trugarhâ wrthym ni gan hynny, Garedig dâd, ac na âd mohonom arnom ein hunain, i ddilyn ein ewyllys ein hunain, na'n trachwantau na'n deisyfiadau, eithr cymmorth ni a'th yspryd daionus, fel y parhaom hyd y diwedd mewn ystod gyfiawn, megis felly or diwedd i'n derbynnier i ogoniant, ac y byddom cyfrannogion or goron anfarwol honno a roddwyd i gadw i bawb ar a'th garant, ac a alwant ar dy enw mewn gwirionedd.

Ymhellach yr ydym yn deisyf arnat (o nefol *Dâd*) roddi i ni bôb peth angenrheidol ir bywyd yma, megis ymborth, dillad, iechyd, heddwch, rhydd-did a

diogelwch oddiwrth amryw drueni i ba rai yr ydym bôb dydd yn ddarostyngedig, fel y gwelych di yn addas.

Bendithia i ni yr hôll foddion a roddaist tan ein dwylaw tu ag at gynhaliaeth y bywyd darfodedig hwn. Bendithia ein tryffor, an digonedd, ein lluniaeth, a'n hanifeiliaid, ein celfyddodau, a'n crefftydd, a hôll weithredoedd ein dwylo: Canys dy fendith di yn vnig a gyfoethoga, ac ni ddŵg ddim tristid gyd ag ef. Dyro gan hynny i ni y fâth gyfraid, a digonoldeb or bendithion bydol hyn, ac a welych di yn dy ddoethineb nefol yn angen-rheidiolaf i ni.

Heb law hyn yn ostyngedig attolygwn i ti, o nefol Dâd, edrych i lawr or nefoedd yn dy ddirfawr drugaredd ar dy eglwys gyffredin, ac ar bôb aelod o honi. Bydd dda wrth Sion, ac adeilada furiau Jerusalem.

Cenfydd a llygad dy dosturi ddifrod, ac anghyfannedd dra dy eglwys. Iachâ ei briwiau, a chae ei adwyau ym mhôb cenedl. Gofala am dani, megis dy braidd dy hun, ymgeledda hi megis dy deulu dy hûn.

Coledda hi megis dy winllan dy hûn, hoffa hi megis dy briodferch dy hûn Ewriada iddi twriadau heddwch, ac edrych arni beunydd mewn mawr dosturi. Bendithia

thia hi a'th râs; cyfarwydda hi a'th ysp-ryd, ac ymddeffyn hi bôb amser a'th ga-darn allu. Gwascara ddychymmygion, gwradwydda gynghorion a diddymma ga-dernid pawb a ymosodo iw herbyn.

Yn bendifaddeu nyni â attolygwn i ti, garediccaf D d, ymosod yn erbyn yr Angrist o Rufain, dyn y golledigaeth, yr hwn sy'n dy wrthwynebu di, a'th bobl oll. Dyro iddo pan welych yn dda, atto-lwg, ei gwymp anescorol.

Diddymma ei nerth, ai awdurdod ef fwyfwy beunydd: *Dy*ro rydd-did i'th E-fengyl ym mhôb teyrnas, fel y cwympo Babilon, ac na chyfodo byth mwyach. Pa fwyaf y ceisio annwyliaid, a charedigion Rhufain gynnal eu Teyrnas goel-fuche-ddol, mwyaf fyddo ei chwymp, megis da-gon o flaen dy Arch: Tywallt i lawr phio-lau cyflawnder dy ddigofaint ar deyrnas y bwystfil, a syched ymmaith eu golud, a'u cyfoeth, a'u cymmeriad, a'u hawdurdod fwy fwy bob dydd, fel yr afon *Euphrates*.

Bydded tostur gennit o anwyl Dâd we-led dy briodferch dy hûn yn eistedd ymma i wared megis gwraig anhawddgar, a diymgeledd yn wylofain, ac yn galaru ai gwallt tros ei yscwyddau, wedi colli ei thegwch, ai phrydferthwch.

Diddana hi, Garedig Dad: llawenha hi a llawenydd dy wynebpryd, ac felly har-dda,

dda, a thrwſſiada hi, fel yr ymfodlonech ynddi megis priodfab yn ei ddyweddi. Yn enwedig yr erfyniwn arnat gymmeryd trugaredd ar dy eglwys yn y deyrnas yma: darpara i ni ddaioni, ac nid drygioni.

Na ddyro ni heibio yn nwylaw yr Yſpaenwyr gwaedlyd fel y mae ein pechodau yn haeddu: Gwaſcara, ni attolygwn i ti o Arglwydd, ddychymmygion, a diddymma gydſwriadau pawb oll a ſwriadaſant orchfygu, a *Diwin* anghyſanneddu yr eglwys hon ar deyrnas.

Bendithia yr Eglwys hon fwyfwy, drwy gynnal gwir grefydd i'n plith.

Er mwyn dy enw mawr, ac er mwyn dy anfeidrol drugaredd, bydd raſlawn a thrugarog wrthym ni, a'n hiliogaeth.

Tro oddi-wrthym y dialedd ſydd ddyledus i ni am ein pechodau. Oblegit ti â weli fod anwiredd yn cael y llaw vchaf, ar drygionus yn ynnill y maes, annuwiaeth ſy'n goreſcyn pob man, a phabyddiaeth ſy'n cynnyddu eilwaith.

Gan hynny garedig Dâd, yn oſtyngedig yr attolygwn i ti beri diwygio ar trŷs, ac attal yr amryw anrhefn, ar dirfawr amryſuſedd ſy'n ein plith. Caniattâ i'th blant truein fod o honot yn ddaionus ir wlâd hon: gwrando lefain dy etholedigion: Clyw waedd y rhai â alarant yn *Sion*.

Gâd i lefain dy blant wrthlefain hôll

wa-

waedd pechodau y wlâd ymma, ac ymgŷmmoda a ni, yn lluosogrwydd dy dosturiaethau, mal felly y parhaech rhag llaw yn ymddeffynwr trugarog i'th frytanaidd winllan. Attolwg i ti ein Tâd daionus, ddangos trugaredd rhagorol i'n Ardderchoccaf a'n grasusaf frenin *Charles*, dy eneiniog wasanaeth-wr: Bendithia, a chadw ef yn ei holl ffyrdd. Bendithia ei deyrnasiad ef i ni. Castelled dy Angelion o'i amgylch, a bydded dy law sanctaidd drosto ef iw gadw rhag brâd, a gwared ef rhag ystrywiau ei elynion, canniadhâ iddo allu dirnad y pethau á berthynant iw heddwch, a dyro iddo galon awyddus i ymarfer ar vn rhyw. Dyro iddo bôb rhadau angenrheidiol iw heddwch, ac angenrheidiol iw iechydwriaeth. Pâr iw lywodraeth ef arnom ni barhau yn dangnheddefus, ac yn llwyddiannus, ac megis y gosodaist ef yn anadl ein ffroenau ni, ac yn ermig i achub llawer miloedd o eneidiau, felly bydded ei enaid ef cadwedig yn nŷdd dŷ Fâb Crist.

Bendithia anrhydeddus ddirgel gyngorwyr ei fawrhydi ef, a chaniadha y fâth lwyddiant iw cyngorion, ac iw pwyll-fwriadau hwynt mewn achosion y deyrnas, fel y gallom ni fyw yn llonydd, ac yn heddychlawn ym mhôb duwioldeb, a gonestrwydd. Bendithia yr hôll Bennaethiaid, gweithia ynddynt hwy ofal i anrhydeddu dy enw

di.

di yn eu galwedigaethau; gwna hwynt yn ffyddlon i ti ac yn ffyddlawn iw gwlâd. Cyfarwydda a'th Yspryd daionus bawb ôll á ddygant gleddyf cyfiawnder, fel y tynnant ef allan, i gospi y drygionus, ac i amddeffyn y Duwiol, ac fel y gallont a phob gofal, a chydwybod dda gyflawni dyled-swyddau eu galwedigaethau. Ychwanega nifer y gweinidogion ffyddlon, a gwir dduwiol yn yr eglwys ymma. Anfon dy Efengyl ir mannau hynny lle nid ydyw, a bendithia hi lle y mae.

Cofia yn dy drugaredd, O Arglwydd, y rhai ydynt tan nêb rhyw groes, neu gystudd: Cyffura hwynt, Iachâ eu briwiau, rhwym eu doluriau, derbyn eu hôll ddagrau yn dy gostrel, a chyweiria eu gwelau yn eu holl glefyd. Dyro y cyfryw ddiben daionus iw hôll drallodau, fel y tueddont ith ogoniant ti, ac i ffynniant eu iachawdwriaeth hwythau. Yn y cyfamser dyro iddynt ddioddefgarwch, a chefnogrwydd i ddwyn beth bynnag a ryngo bodd i'th drugarog law di ei osod arnynt. Yn ddiweddaf oll attolygwn i ti fendithio y llywodraethwyr, y gweinidogion, ar cyffredin.

Bendithia dy holl bobl, bydd ddaionus i'r bawb ar sy'n gywir, ac yn vniawn o galon. Ac felly (garedig Dâd) gorchymmyn yr ydym ein hunain, ein eneidau, a'n

a'n cyrph i'th ddwylaw di dros y dydd hwn, a'n hôll enioes, gan ddamuno arnat ofalu am danom, a'n cadw rhag pôb drŵg, gwilio drosom er daioni, Gosoded dy Angelion eu pebyll o'n hamgylch, bydded dy law sanctaidd drosom i'n cadw yn ein hôll ffyrdd, fel y byddom byw i'th foliant a'th ogoniant di yma ar y ddaiar, gan gadw ffydd, a chydwybod dda yn ein holl weithredoedd, fel yn ôl y fuchedd hon i'n coroner gennit yn dragwyddol yn y Nefoedd.

Caniatta (ddaionus Dâd) y pethau hyn i'r ni ymma yn bresennol, ac i bawb o'r eiddot yn absennol; gan attolwg i ti mewn caredigrwydd enwedigol gofio ein cyfneseifiaid, a'n ceraint yn ôl y cnawd, ein hôll gymmydogion , a'n ewyllyswyr da , a phawb ôll dros ba rai yr ydym yn rhwymedig i weddio wrth naturiaeth, wrth haeddedigaeth, neu fâth yn y byd ar ddylêd: Er mwyn Iesu Grist ein vnig Gyfryngwr, i'r hwn gyd a thi, ar Ysbryd Glan y rhodder pôb moliant, a gogoniant, yr awrhon a byth bythoedd, *Amen.*

Pryd-

# Prydnawnol weddi iw harfer mewn teuluoedd neillduol.

O Dragwyddol Dduw, a'n carediccaf, a'n hanwylaf Dâd, nyni dy blant anheilwng ydym yn ymddarostwng yma wrth droedfaingc dy fawredd di, gan gydnabod o eigion ein calonnau ein bod ni yn llwyr anaddas i nessau attat, neu i edrych tuag attat, o herwydd dy fod ti yn Dduw o anfeidrol ogoniant, a ninnau ydym bechaduriaid gwael, a ffiaidd, y cyfryw ac â luniwyd, ac â anwyd mewn pechod, a llygredigaeth, ac yn ein gweithredoedd â drosedddasom dy holl tarnedigaethau a'th gyfreithiau, ar feddwl, gair, a gweithred, cyn, i ni dy adnabod, ac er hynny yn dywyll ac yn oleu, arnom ein hunain, a chyd ag eraill: Ein pechodau neillduol ydynt amlach nac y gellir eu rhifo: Canys pwy a edwyn nifer ei bechodau? Ond rhaid i ni gyfaddeu hyn yn ein herbyn ein hunain, fod ein calonnau ni yn llawn balchder, cybydd-dra, a serch ir byd hwn, yn llawn llîd a digter, ac anniodde fgarwch; yn llawn

llawn celwydd, rhagrith, a thwyll: Yn llawn gwagedd, cyndynrhwydd, ac aflendid: yn llawn anghrediniaeth, anymddiried, a ferch arnom ein hunain: yn llawn trachwant, brynti, a phôb ffiaidd ddeifyfiadau: Ie y mae ein calonnau yn byllau pechod, ac yn domennau o bob budreddi.

Ac heb law hyn oll, yr ydym yn efceulufo y pethau daionus â ddylem eu gwneuthur: oblegit y mae ynom ni ddiffig mawr o ffydd, cariad, a zêl; o ammynedd, bodlonrhwydd, ac o bôb rhâd daionus; yn gymmaint â bod i ti achos cyfiawn i roddi barn i'n herbyn megis damnedig drofeddwyr dy holl orchymynion fanctaidd, ie y cyfryw ydym ni ac fy wedi foddi yn ein gwrthryfelgarwch; ac a wnaethom yn fynych deyrnfradwriaeth yn erbyn dy fawredd di, ac am hynny y gellit ein taflu ni ôll i wared i dan vffern, yno i'n penydio gyd â Diafol, a'i Angelion byth bythoedd

Ac nid oes gennym ddim i roi yn erbyn dy fawrhydi am wneuthur felly: O herwydd yn h nny ti a wneit â ni yn ôl vniondeb, ac yn ôl ein cyfiawn haeddedigaethau.

O herwydd paham (garediccaf Dâd) ymwrthod yr ydym a'th gyfiawnder di, ac ymroi i'th drugaredd, gan attolwg i ti yn

yn oſtyngeiddiaf drugarhau wrthym; a chwbl-faddeu i ni ein pechodau a aethant heibio yn gyſtal hên, a newydd, dirgel, ac amlwg, adnabyddus, ac anadnabyddus, a hynny er mwyn Jeſu Griſt ein vnig Gyfryngwr.

Ac yr ydym yn attolwg i ti gynnyrſu ein calonnau a gwir driſtid, ac edifeirwch diragrith am danynt, fel y byddont yn gweithio ynom ferwindod calon, fel na byddo dim trymmach gennym na darfod i ni dy anfodloni di ein ymgeleddwr, an Tad daionus. Par i ni gan hynny (garedig Dad) fwyfwy bôb dydd rhagor ei gilydd weled a chlywed ein pechodau, a gwir ymoſtwng am danynt. Dyro i ni wir a bywiol ffydd drwy yr hon y cymmeron afael ſiccr yn dy Fab Criſt, ai hôll haeddedigaethau, drwy eu cymhwyſo i'n heneidiau ein hunain, fel y gallom fod yn gwbl ſiccr gennym, fôd pa beth bynnag a wnaeth efe ar y groes, wedi iddo ei wneuthur yn enwedigol droſom ni, yn gyſtal a thros eraill.

Dyro i ni ffydd o Dad daionus, i gredu yn ddiſigl hôll gyffurus addewidion yr Efengyl a wnaed yn dy Fab Criſt am faddeuant pechodau, a bywyd tragwyddawl.

O Arglwydd ychwanega ein ffydd fel y gallom roi cwbl o'n goglud ar dy addewidion

dion y rhai ydynt ôll ie, ac *Amên*. Ie fel y gallom ymſefydlu arnynt a chwbl a feddwn, ein eneidiau, a'n cyrph, ein cyfoeth a'n enw da, ein gwragedd, a'n plant, a'n hôll gyflwr, gan wybod fod pôb peth yn ſefyll wrth dy addewidion a'th allu, a'th ragluniaeth, ac mai dy air di ſy'n cynnal, ac yn dal i fynu hôll drefn naturiaeth.

Ym mhellach yr ydym yn attolwg i ti O Arglwydd, ein nerthu ni oddi-vchod i rodio ym mhôb ffordd ddaionus, ac iddwyn ffrwyth gwir ffydd yn ein hôll weithredoedd neillduol, gan ofalu am dy fodloni di ym mhôb peth, a bod yn ffrwythlawn ym mhôb gweithred dda, fel yr hyſpyſom i bob dyn wrth ein ymarweddiad da, plant i bwy ydym, ac fel y byddom yn addurno, ac yn harddu ein crefydd Sanctaidd drwy rodio yn Griſtianogaidd, ac ym mhôb iachus ffrwythau, ac ymarfer o dduwioldeb, a gwir grefydd.

Ir perwyl yma attolwg i ti ſancteiddio ein calonnau ni a'th Yſpryd Glân, yn erbyn cyffredin lygrediaethau y bŷd, megis balchder, putteindra, cybydd-dod, dirmig ar dy Efengyl, tyngu, dywedyd celwydd, rhag-reithio, a thwyllo.

O Dâd caredig, na âd ir ffiaidd bechodau hyn ein gorchfygu, nac i neb rhyw bechadurus ddigrifwch, neu ffôl ddifyrrwch arall, drwy ba rai y mae miloedd yn rhedeg ben-

bendramwnwgl i ddestryw. Arsoga ein eneidiau yn erbyn hôll brofedigaethau y byd, y cnawd, ar cythraul, fel y gallom eu gochfygu hwynt ôll drwy dy gymmorth di, a dal ar y ffordd vnion i fywyd ; fel y gallom fyw yn dy ofn di, a marw yn dy gariad, fel y byddo ein dyddiau olaf yn ddyddiau llawenaf, ac y diweddom mewn mawr heddwch cydwybod.

Ymhellach (Anwylaf Dâd) yr ydym yn ersyn arnat, nid yn vnig drosom ein hunain, ond dros ein holl frodyr daionus dy blant anwyl di, ar wascar ar hyd wyneb yr holl ddaiar ; gan attolwg i ti yn ostyngedig, eu bendithio hwynt ôll, a'u cyssuro, a'u llawenychu a llawenydd dy wynepryd, yr awr-hon a phob amser. Cynnal hwynt ôll yn dy ofn, a chadw hwynt rhag drwg fel y moliannant dy enw. Yn y dyddiau enbydus hyn, ar amserau llithrig, attolwg yr ydym i ti gyfodi Tadmaethod, a mammaethod i'th eglwys, fel y gosoder ymlaen dy achosion, ac y llwyddo gwrionedd, y caffo gwîr grefydd rwydd-hynt a ffynniant, y gosoder allan dy enw di yn vnig ar y ddaiar, y derchafer teyrnas dy Fâb, ac y cyflawner dy ewyllys. Gwrthladd di gadernid pôb gwrthwynebwyr : yn bendifaddeu hwnnw o Rufain, a delw-addoliant Angrist, ac annuwiaeth : Melldithia, a rhwystra eu hôll gynghorion: di-

diddymma eu dychymmygion, gwascara eu byddinoedd, a gorchfyga eu lluoedd. Troer eu doethineb yn ffoledd, a'u cadernid yn wendid. Gwybyddant nad oes dim doethineb, na chyngor, na gallu, na chyfrwystra yn dy erbyn di Arglwydd y lluoedd Gwybyddant fod Duw i *Israel*, a'th fod ti yr hwn a elwir Iehofa yn vnig Reolwr ar yr hôll fŷd.

Cyfod gan hynny O Dduw galluoccaf, a maentumia dy achos dy hûn yn erbyn dy hôll elynion; Taro trwy eu hôll arennau, a chrymma eu cefnau, ie gwadwydder, a throer yn ôl bawb oll a ewyllysiant ddrŵg i *Sion*.

Bydded hir ymaros y cyfiawn yn llawenydd: Ac na chaffo y drygionus eu gobaith: Eithr o flaen pôb caredigrwydd, Attolwg i ti ddangos trugaredd enwedigol i'th eglwys yn y deyrnas ymma yr ydym ni yn byw ynddi. Cynnal rhagllaw dy Efengyl yn ein plith yn fwy llwyddiannus. Glânhâ dy dŷ beunydd fwyfwy; tynn ymmaith bob rhwystr. Bydded y genedlaeth hon y lle y galwer ar dy enw di ynddo, ac yn amddeffynfa i'th Saint, Dangos drugaredd i'n hiliogaeth ni, Annwylaf Dâd, a gofala am danynt, fel y gadawer dy Efengyl iddynt hwy yn etifeddiaeth Sanctaidd. Amddeffyn ni rhag cynllwynion estronol, a gormesoedd. Cae allan oddi wrthym

wrthym gaudduwiaeth, a phabaeth: Trô ymmaith y dialeddau y mae ein pechodau ni yn gweiddi am danynt. Canys pechodau y wlâd hon ydynt dramawr, ffiaidd, a chynhwynol, ac a rônt i ti achos ddigon i'n gwneuthur ni yn ſpectalau o'th ddialedd i bôb cenedlaeth: Fel pa mwyaf y derchefaiſt ni mewn mawr drugaredd, a hîr heddwch, o hynny yn ſwy y gellit ein tan-ſangu mewn llid mawr, a hîr ryſel.

Am hynny, o garediccaf Dâd, yn oſtyngedig yr attolygwn i ti er mwyn dy enw mawr, ac er dy anſeidrol drugareddau gymmodi o honot ar wlâd hon, a rhyddhâ hi o'i holl ffiaidd bechodau. Bawdd hwynt O Arglwydd yn dy anſeidrol drugaredd trwy Griſt megis mewn diffwys diwaelod, fel na chyfodant byth yn y farn i'n herbyn. Oblegit er bôd ein pechodau ni yn llawer-iawn, ac yn oſnadwy: etto mwy o lawer yw dy drugaredd di.

Canys yr wyt ti yn anfeidrol dy drugaredd, eithr ni allwn ni fod yn anfeidrol ein pechodau. Na ddyro ni i ſynu i ddwylaw delw-addol-wyr rhag iddynt gablu dy enw di gan ddywedyd; pa le y mae eu Duw hwynt, yn yr hwn yr ymddiriedent. Ond yn hytrach garedig Dâd cymmer ni i'th ddwylaw dy hûn, a cherydda ni yn ôl dy ddoethineb, canys gyd â thi y mae trugaredd, ac aml doſturi. Ymhellach,

yr

yr ŷm yn attolwg ith ddaionus fawredd di fendithio ein Graſuſaf frenhin *Charles*, a dangos iddo drugaredd mawr ym mhob pêth. Coledd ef yn dy ofn di, a chadw ef yn ei hôll ffyrdd, drwy weithio yn ei galon driſtid diragrith am bechod, gwir ffydd yn yr addewidion, a goſal mawr i'th fodloni di ym mhôb pêth, ac i gyflawni dyled-ſwydd ei vchel-fraint ym mhôb awydd-chwant i oſod allan dy ogoniant, ac i ddangos ffyddlondeb i'th fawrhydi: Fel megis y coronaiſt ef ymma ar y ddaiar: felly y caffo (drwy dreulio ei ddyddiau ymma yn dy ofn di) yn ôl y fuchedd hon ei goroni gennit yn dragywydd yn y Nefoedd. Attolygwn i ti hefyd fendithio anrhydeddus ddirgel-gynghoriaid ei fawredd ef. Cynghora hwynt oddi-vchod, ymgynghorant â thydi ym mhôb peth, fel y gallant ymgynghori, ac ymroi i ddilyn y cyfryw helyntiau, ac a fyddo yn fwyaf i'th ogoniant di, a daioni i'r eglwys, a heddwch i hon ein gwlâd ni. Bendithia y Pennaethiaid, a hôll lywodraethwŷr y deyrnas drwy roddi iddynt ôll rad i rannu cyfiawnder a barn, a chynnal gwrionedd, ac vniondeb. Bendithia hôll ffyddlon weinidogion yr Efengyl, amlha eu rhifedi hwynt, cynhyrcha dy ddoniau ynddynt, ac felly bendithia eu llafur-waith hwynt yn eu lleodd, a'u cynnulleidfaoedd neillduol: fel y byddont

ôll

ôll yn offerau dy law di i helaethu teyrnas dy Fâb, ac i ynnill llawer i ti. Cymmorth y rhai digymmorth a phôb angenrheidiol gymmorth: Nac anghofia nêb or eiddot ti ar a gystuddir, eithr megis y mae eu blinderau yn dôst, felly bydded llawenydd, a diddanwch dy Yspryd yn gyssur iddynt.

Ac felly Sancteiddia i bawb or eiddot eu cystuddiau a'u gofidiau, fel y tueddont ôll i'th ogoniant ti, ac iw daioni hwythau. Dyro i ni galonnau diolchgar am dy holl drugareddau Ysprydol, a chorphorol: Canys yr wyt yn dra thosturus wrthym ym mhethau y bywyd hwn, ac yn fwy anfeidrol dy drugaredd ym mhethau sydd well. Pâr i ni ddwys ystyried dy holl garedigrwydd neillduol tu ag attom: Megis drwy iawn synnied o honynt yr enniller ein calounau i nessau attat, ac felly y gallom dy garu, ac vfyddhau i ti am dy fod mor garedig bôb amser, ac mor gariadus i ni; fel y gallo dy gariad ti tu ag attom ni, dynnu ein cariad ninnau tu ag attat tithau: Ac am fod trugaredd gyd â thi am hynny i'th ofner. Caniadhâ y pethau hyn y Tâd daionus, a phob rhadau eraill angenrheidiol i'n eneidiau an cyrph, neu i neb or eiddot drwy'r holl fyd er mwyn Jesu Grist: Yn enw yr hwn y galwn arnat ymmhellach fel in dyscodd yn ei Efengil, gan ddywedyd; Ein Tâd yr hwn wyt &c.

# Gweddi iw harfer yr amſer a fynner, gan vn dyn arno ei hun yn neillduol.

O Arglwydd fy Nuw am Nefol Dâd, myfi dy blentyn anheilwng ydwyf ymma yn dy ŵydd di yn cyfaddeu o eigion fynghalon fy môd yn greadur pechadurus, ac yn droſeddwr aruthrol ar dy hôll Sanctaidd gyfreithiau di, a'th orchymynion: Fel megis ac i'm ganed, ac i'm rhagwyd mewn pechod, ac i'm halogwyd yn y grôth, felly y dygum beunydd lygredig, a dybryd ffrwyth y llygredigaeth, ar mallhaint hwnnw ym mha vn yr ymddygwyd arnaf, ar feddyliau, geiriau, a gweithredoedd. Ped amcanwn fwrw cyfrif o'm holl gamweddau neillduol, ni wnn na pha le y dechreuaf, na pha le y diweddaf.

Canys amlach ydynt na gwallt fy mhen, ie mwy o lawer nac y mae poſſibl i mi allu eu clywed, na'i gwybod. Canys pwy a edwyn vchder, a dyfnder ei lygredigaeth?

pwy a ŵyr pa cyn ſynyched y mae yn pechu? Ti yn vnig o Arglwydd a adwaenoſt fy mhechod, yr hwn a adwaenoſt ſynghalon, nid oes dim yn guddiedig rhagot. Ti a adwaenoſt beth a ſûm, a pheth ydwyf. Ie y mae ſynghydwybod i'm cyhuddo o ddrygau lawer, a thrymion: ac yr wyf beunydd yn ymglywed drwy reſynol brawf mor egwan ydwyf, mor dueddol i ddrwg, ac mor anhyrwydd i bob daioni. Fy meddwl ſy'n llawn o wagedd, ſynghalon yn llawn o aflendid, fy nwydau yn llawn o ſarweiddra, ſyndod, a ſyrthni yn achoſion dy waſanaeth di.

Ie fy enaid ôll ſy'n llawn o yſprydol ddallineb, calon-galedwch, anfuddioldeb, difraŵch, a diofalwch: Ac mewn gwirionedd yr wyf yn gwbl-oll yn glamp o bechod a thommen pob trueni, ac am hynny yr haeddais golli dy ffafor, y tynnais arnaf dy ddigofaint, yˀ roddais i ti achos cyfiawn i gyffroi, i'm troi heibio, ac i'm gadael i'm hewyllys llygredig fy hun, am drwg-nwydau: Eithr o ſyngharedig Dâd, mi a ddyſcais o'th enau di dy fod ti yn Dduw llawn trugaredd, hwyr-frydig i lîd, a mawr dy doſturi a'th garedigrwydd tu ag bawb ar ydynt yn griddfan tan faich eu pechodau. Am hynny eſtyn dy ddirfawr drugaredd tu ag attaf fi bechadur truan, a chaniattâ i mi gwbl faddeuant o'm pechodau

dau ôll : sêlia ef yngwaed dy fâb, a sêlia ef i'm cydwybod drwy sicrhau i mi fwy-fwy dy gariad a'th ffafor tu ag attaf, a'th fod yn Dâd cymmodol a mi.

Caniadha i mi allu dy garu di yn fawr bôb amser o hyn allan, ac o garaid arnat dy ofni, ac vfyddhau i ti. O Arglwydd chwanega fy ffydd fel y credwyf yn ddiammeu hôll addewidion yr Efengyl, a wnaed yn dy fâb Crist, ac y rhoddwyf fynghwbl oglud arnynt.

Cryfhâ fi i ddwyn iachus ffrwythau ffydd, ac edifeirwch, yn fy hôll weithredoedd neill-duol. Llanw fy enaid yn llawn o lawenydd, a thangnheddyf yn credu. Llanw fi yn llawn o gyssur oddifewn, a nerth ysprydol yn erbyn pôb profedigaethau.

Dyro i mi etto rhag llaw ychwaneg gydnabyddiaeth o'th gariad, a'th amryw drugareddau tu ag attaf. Gweithia yn fy enaid gariad i'th fawredd, a zêl i'th ogoniant, casineb i ddrwg, a chwant i bôb pethau daionus.

Dyro i mi y fuddugoliaeth ar y pechodau hynny y rhai â wyddost eu bôd yn gryfion ynof. Nertha fi vnwaith o'r diwedd i orchfygu y byd, ar cnawd. Marwhâ ynof beth bynnag sydd gnawdol. Santeiddia fi yn gwbl oll drwy dy Yspryd: Cysyllta fynghalon a thi yn dragywydd, fel yr ofnwyf dy enw.

Adnewydda ynof beunydd fwyfwy ddelw dy fâb Crift. Pâr i mi ymddigrifo yn darllain, a myfyrio dy air. Pâr i mi lawenychu yn y weinidogaeth gyffredin o honaw. Pâr i mi garu, a pherchi hôll ffyddlon wenidogion yr Efengyl. Sancteiddia eu athrawiaethau hwynt i'm cydwybod, Selia hwynt yn fy enaid, ac Scrifenna hwynt yn fynghalon, dyro i mi galon rywiogaidd a thoddedig, i grynu wrth dy air di, ac i hoffi bôb amfer bregethau duwiol.

Na chaffed fy mhechodau attal dy drugareddau odi wrthif, nam anheilyngdod gau allan lwybr dy râs. Agor fy llygaid i weled pethau rhyfedd yn dy gyfraith di.

Dadcuddia i mi dy ddirgeloedd, a bydd caredig i mi dy wâs anheilwng.

Na chuddia oddi wrthif ddim a fyddo buddiol i'th ogoniant di, a daionus i'm henaid.

Bendithia i mi yr hôll gyfryngau a ofodailt er daioni i mi. Bendithia i'm henaid bob athrawiaeth fanctaidd.

Bendithia fi bôb amfer wrth wrando, a darllain dy air. Dyro i mi yr iawn fwyniant o'th drugareddau, a'th geryddon, fel y byddwyf gwell o'u plegit. Amlhaed ynofi gariad tu ag dy blant di.

Cylymma fynghalon wrthit; mal lle y carech di, yno y carwyf finneu hefyd. Gwiliwyf, a gweddiwyf nad elwyf mewn pro-

fedi-

ſedigaeth. Dyro i mi ddioddefgarwch, a bodlonrhwydd ym mhôb peth.

Par i mi dy garu di ſwyfwy, ar bŷd leilai. Felly tynn fy enaid i ſynu, fel y dibriſiwyf bôb pethau darfodedig. Pâr i mi ſerchu, ac ymdditYrru mewn pethau nefol, fel y gwnelwyf gyfrif bychan o bethau daiarol.

Pâr i mi arfer y byd hwn megis pe bawn heb ei arfer. Ei arfer er mwyn angenrhaid megis bwyd a diod, Na chymmerwyf ddigrifwch yn ei wâg-ſeluſwedd ai ffôl ddifyrrwch. Y Tâd daionus gweithia dy waith daionus ynoff fi: Na âd, ac na wrthod fi byth hyd oni ddygech fi i wir ddedwyddwch. O Dâd annwyl, gwna fi yn ffyddlon yn fyngalwedigaeth, fel y gwaſanaethwyf di ynddo; ac y byddwyf gofalus beunydd am wneuthur pa ddaioni bynnag a allwyf ym mhôb peth. Bendithia fi yn fynghyflwr oddi allan. Bendithia fy enaid, am corph, fyngolud a'm enw da. Bendithia gwbl ôll ar a berthyn i mi. Bendithia fy mynediad allan, am dyfodiad i mewn. Dercher dy wynepryd arnaf yr awr-hon a phôb amſer, llawenhâ fi a llawenydd, ac â diddanwch dy yſpryd: gwna fi yn ddiolchgar am dy holl drugareddau.

Canys rhaid i mi gyfaddeu dy fod yn dra caredig i mi ym mhôb peth. Oblegit ynot ti yr wyf yn byw, yn bod, ac yn ym-

ſymud. Oddi wrthit ti, yr wyf yn cael fy llwyddiant, a'm bôd daionus.

Cyfaill beunyddiol ydwyt a chymwynaſwr enwedigol i mi. Byw yr ydwyf ar dy draul di, a'th gôſt, dal yr ydwyf y cwbl a feddaf oddi-wrthit ti. Ac nid wyt vn amſer yn blino yn gwneuthur i mi ddaioni. Dy ddaioni tu ag attaf ſydd ddianwadal. Oh ni allaf byth fod yn ddigon diolchgar it am dy hôll drugareddau yn gyſtal yſprydol a chorphorol. Eithr yn y cyfryw feſur ac y gallwyf yr wyf yn moliannu dy enw am y cwbl oll: gan attolwg i ti dderbyn yn gymeradwy fynhâl-diolch yn dy fab Criſt, a rhoddi i mi ſwyniant buddiol o'th hôll garedigrwydd, mal felly y cwbl dynner fynghalon attat ti. Caniadhâ i mi o Dâd, fôd or cyfryw naturiaeth, ac athrylith, fel yr ynniller fi drwy rywiogeiddrwydd, a chlaiarwch, yn gyſtal a phe roddit i mi lawer gwialennod. Maddeu fy hôll anniolchgarwch, angharedigrwydd, ar camarfer dirfawr ar dy drugareddau di. A dyro i mi râs iw harfer yn fwy i'th ogoniant beunydd o hyn allan.

Nertha fi, garedig Dad, i barhau fel hyn i foliannu, ac i anrhydeddu dy enw yma ar y ddaiar, mal yn ôl y bywyd Hwn i'm coroner gennit ti yn dragywydd yn dy deyrnas. Canniadha yr

erfyn-

erfynniau hyn drugaroccaf Dduw nid yn vnig i mi, ond hefyd i'th hôll blant anwyl trwy'r holl fŷd er mwyn Jesu Grist. Yn enw'r hwn y galwaf arnat ymhellach, gan ddywedyd megis i'm dyscodd. Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, *&c.*

# TERFYN.

*Laus Deo.*

---

# Dywygiwr y Preintwasg at y Darllennydd.

*Y Cymro anwyl, yn y blynyddoedd diweddaf aeth heibio rhoddes Duw ewyllys mewn rhai gwyr enwog yn Llundain ac o'i hamgylch, i wneuthur daioni i'n gwlad ni wrth drefnu llyfrau da iddi, ac hyfforddi bagad iw dyscu. Ac wedi iddynt wneuthur cynnorthwy nid bychan i beri ir Biblau*

*cymraeg liosogi yn ein plith, rhoddes rhaglunieth derfyn i fywyd y gwr parchedig ydoedd yn cyniwer i Gymru ar y cyfryw negesau. A thra yr oedd rhai yn tybied pan ddarfu'r pen hwnw, y darfuasai'r ammod cymmwynascar yr oedd efe yn olugwr arno; wele y gwyr da eraill y rhai oeddent gyfrannogion ag ef yn ei orchwylion elusengar, yn amlygu fod mwy o gynhesrwydd cariad yn eu plith nag yr oeri wrth ddiffodd o vn pentewyn: am hynny dewisasant vn arall cyffelyb iddo, i wneuthur yr vn cymwynas i'r gwenniaid yn ein cenedl ni, ac a wnaeth yntef: o'r hyn y mae ysbysrwydd printiedig yn saesoneg a henwau cyfrifol wrtho. Ac i destiolaethu ffrwythlondeb eu bwriad, dyma nhw yn ailpreintio yn ein iaith ni y Llyfr godidog na phreintied mono er ys rhagor i ddeg a deugain o flynyddoedd, ac a elwir y* Llwybr Hyffordd ir nefoedd, *fel y caffo'r tlawd fara yn rhôdd, a phawb eraill yn isel-bris. Na fychana'r cymmorth, eitbr bendithia Dduw am yr adeiladaeth.*

*Yma daliwn sulw ar hyn yn ofalus, sef ddarfod i'r Arglwydd gynhyrfu y pregethwr duwiol a scrifennodd y llyfr hwn, a bagad o'i fath a scrifennasant lyfrau seisnig eraill, yn yr oes ddiweddaf, i destiolaethu'r gofid a'r ofn oedd yn eu heneidiau wrth weled pobl mor gyffredinol yn byw yn anaddas ir efengyl a broffessent. A chan na chanlynodd*

*edifeirwch a dywygaid ar ol y cyfryw rybuddion ffyddlon, digwyddodd farnedigaethau trymion yn y byd drwy ryfeloedd a chlefydau, ac ni ddiangodd ein gwlad ni rhag clywed peth o'u pwys. Ynteu heddyw gwrandewch ar leferydd Duw yn y llyfr hwn, ac na chaledwch eich calonnau megis yn y cyffroad, yn amser ein tadau diweddar a'n hen deidiau gynt.*

*Am yr argraphiad yma gallaf dy ficcrhau ei fod yn ofalus o'm rhan i. Ac er na chefais hamdden i holi'r cyfieithad wrth y Saesoneg mor fanwl ac y gwneuthum wrth brintio'r* Ymarfer o Dduwioldeb *y waith ddiweddaf, etto rhwng fy mhoen fy hun a'm cydweithwr o ddeheu-barth, y mae llawer o eiriau ac Yscrythyrau wedi eu rhoddi i mewn yn hwn, a ddiangasai yn y llall. Ac o herwydd bod y llyfr hwn yn saesoneg ac yn Gymraeg heb ei rannu yn bennodau, ac yn anhawdd ir darllennydd droi yn barodol at brif-bennau'r athrawiaeth sydd ynddo, yr awrhon yscrifennais* Dablen *yn ei ddiwedd yn ol trefn llythrennau'r egwyddor, i ddangos y dalennau lle ceir dechreuad yr ymadroddion ynghylch y pyngciau rheitiaf. Ac fel na chwyno neb rhag geiriau dieithr, y mae'n canlyn ddeongliad o'r rheini hefyd.*

*Bellach gweddia ar ir Arglwydd nefol drwy gyfarwyddyd ei air, a gwaith ei râs ynot, wneuthur y* ffordd gul sydd yn arwain

ir bywyd *yn hyfforddd iti, fel na chyfeiliorn:ch oddiarni ar y llaw ddeheu na'r aswy, a gwna hynny yn daerach*, *oblegyd* ychydig yw y rhai ſydd yn ei chael hi. *A chofia dy wasnaethydd dyfal* C. E.

Llundain, mis
Mehefin 1682.

---

*Yr un cyfarwyddyd ir anllythrennog i ddyſcu darllain Cymraeg, ac a breintwyd yn Hanes y ffydd.*

| | | |
|---|---|---|
| *Y llythyrennau.* | *ſengl.* | a b c d e f g h i l m n o p r ſ t u y. |
| | *dyblyg.* | ch dd ff ll ng ph th w. |

*A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S T Th V W Y.*

a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o p ph r ſ t th u w y.

A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S T Th U W Y.

Cyn-

Cynefin yn y Saesonaec yw'r ddwy lythyren yma, sef XZ. craffwn arnynt er mwyn darllen y bibl. Ond afraid fyddai eu benthyccio,ped arferid CS yn lle'r gyntaf, ac S fain-Sain yn lle'r ail.

Y bogeiliaid, a e i o u w y.

Cydseiniaid y gelwir y lleill eu gyd. Un bogail ac un gydsain neu angwaneg, oi hadrodd ar unwaith, a wnant Sylaft, fal hyn, ab eb ib ob ub wb yb. Ac ec ic oc uc wc yc. Ach ech ich. Ad ed id od ud wd yd. Add edd idd odd udd wdd ydd. Af ef iff off wff yff. Ag eg ig og wg yg. Ah eh : il ol wll yll. Am em im : on un wn yn. Ang eng ing. Op up wp yp. Ap eph. Ir or : us ws ys. At et it : oth uth wth yth.

Ba be bi bo bu bw by. Ca ce ci : do du dw dy. Dda dde : fi fo fu ffw ffy. Ga ge : hi ho, lu lw. My, na ne, pi po phu, tw ty. Sa se : ti to thu thw thy.

Y geiriau byrraf o un sylaft y maent, megis byd, tad. Y geiriau hwyaf a wneir wrth adrodd amryw sylaftau ar un anadl, megis dar-llen, edifar-ha, creda.

Cyssylltiad o amryw eiriau mewn synwyr yw adroddiad. Yy hyn fel y byddo iti ei ddarllen yn ddeallus, rhaid iti lywodraethu dy leferydd wrth y rheolau hyn, Sef yw hynny, os bydd y nod hwn (?) yn calyn ymadrodd, darllen ef ar Sain ymo-

ymofyn. Os hwn ( , ) neu hwn ( : ) gwybydd na orphenwyd mor ymadrodd; eithr bod ychwaneg perthynawl iddo yn ôl. Ond pan welech hwn ( . ) attal dy leferydd, am ddyfod hynny o ddywediad ir pen. A phan welech eiriau wedi cau arnynt ymlaen ag yn ol ( fal hyn ) ymfang mewn rhefwm ydynt : a chyffylltа yn dy ddeall, y pethau o'r blaen, ac o'r ol, megis na buafai ddim arall yn taro rhyngthynt. A llefara y fylaft yn hirllaes a fyddo a'r nod hwn ( ^ ) vwch ei ben. A phan fo bogeiliaid yn diweddu'r naill air, ac yn dechreu'r llall, torrir ymmaith vn o honynt, i ochelyd drygfain, a bydd y nod hwn ( ' ) uwchben ei lle.

Nodau rhifyddiaeth. 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10, 11, 12, 13, 14, 15, 16, 17, 18, 19, 20, 21, 22, 23, 24, 25, 26, 27, 28, 29, 30, 31, 32, 33, 34, 35, 36, 37, 38, 39, 40, 41, 42, 43, 44, 45, 46, 47, 48, 49, 50, 51, 52, 53, 54, 55, 56, 57, 58, 59, 60, 61, 62, 63, 64, 65, 66, 67, 68, 69, 70, 71, 72, 73, 74, 75, 76, 77, 78, 79, 80, 81, 82, 83, 84, 85, 86, 87, 88, 89, 90, 91, 92, 93, 94, 95, 96, 97, 98, 99, 100, 101, 102, 103, 104, 110, 111, 112, 119, 120, 140, 150, 160. &c. Arferir yn y bibl y nodau hyn i ddangos

gos rhifedi'r pennodau. I. II. III. IV. V. VI. VII. VIII. IX. X. XI. XII. XIII. XIV. XV. XVI. XVII. XVIII. XIX. XX. XXI. XXII. XXIII. XXX. XXXV. XXXIX. XL. XLI. L. Dêg a deugain. LX triugain. XC pedwar ugain a dêg. C cant. CX cant a dêg.

Pan gyffyrddech a ffigurau sy'n dangos oed y byd neu oedran yr Arglwydd, neu ryw rifon eraill, gwybydd os bydd pedwar o honynt ynghyd, fod y nesaf at dy law ddehau di yn arwyddoccau unau, a'r ail ddegau, ar trydydd gantoedd, ar pedwerydd filoedd, megis yn rhifedi y flwyddyn hon, 1682: Y nesaf at dy law ddeheu di, yw dau, a'r nesaf atto yntef yw Wyth o ddegau, sef pedwar vgain, a'r nesaf at hwnw yw chwechant, a'r olaf yw vn mîl. Wedi bwrw yn ôl tyred eilwaith ym mlaen, a chei vn mîl, a chwechant, a phedwar vgain a dau.

Pre-

# Pregeth am Edifeirwch.

## Luc. 13. 5.

*Nac oeddynt meddaf i chwi : Eithr onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll yn yr vn modd.*

E*Difeirwch yw tristwch, a galar gwastadol yn y galon, a'r gydwybod oddifewn am bechod, ynghyd a ffydd, a gwellhad oddi mewn, ac oddi allan.* Oddi mewn (meddaf) drwy newidio meddyliau, a nwydau'r galon ; ac oddi allan drwy newidio y geiriau, a'r gweithredoedd o ddrŵg i dda. Dymma'r edifeirwch yn ddiammeu oedd yn *Nafydd*; yr hwn pan geryddwyd ef yn gyfrwysgall gan y Prophwyd *Nathan*, drwy ddangos iddo ei bechodau o flaen ei lygaid, Ni safodd efe yn ystyfnig ar ei wâd, gan ymoryscwyddo a Duw, ac nid escusododd hwynt chwaith yn ddirgel drwy eu coluro, ond efe a lefodd yn chwerwder ei galon, *Myfi a bechais*; Ac ar hynny a wnaeth 51 *Psalm*; Psalm yn ddiau yn llawn galar a thrymder, yn yr hwn y mae 'r Prophwyd yn cwynfan am ei bechodau

ac yn ymofidio tros ei feiau, ac yn gweddio am galon newydd, ac yspryd newydd, meddyliau newyddion, nwydau newyddion, a bwriadau newyddion i wellhau ei fuchedd; felly yn *Nafydd* nyni a welwn fod tristwch, a gofid gwasiadol (megis ym 'mhob man y dengys llyfr y Psalmau, yr hwn ai gesyd ef yn amlwg megis yn ei lun ei hun) ie a diwygiad mawr ar bechodau oddi mewn, ac oddi allan.

Gwelwch ymma gan hynny beth yw edifeirwch. Felly S. *Petr*, wedi darfod iddo drwy wendid wadu ei Arglwydd ai feistr Crist, pan ei dwysbigwyd gan ei gydwybod ei hun, ac y deffrowyd gan ddiaspod ceiliog yn canu, a aeth allan o lŷs *Pilat*, a chalon drom, gan wylo yn chwerwdost, ac byth yn ol hynny a gyffesodd *Grist* yn gefnog, ie hyd angeu. Gwelwch gan hynny pa beth yw edifeirwch.

Y Prophwydi yn yr hên destament, wrth gynghori yr Iddewon gwrthnyssig i edifarhau, a arferant fynychaf air yn arwyd locau yn yr Hebre-aec, trowch, neu ddychwelwch, a deuwch yn ol drachefn. Wrth yr hon drawsymddwyn neu gyffelybiaeth y deellir mai megis y mae yn rhaid ir dyn a gyfeiliorno ym-mhell allan oi ffordd, ddychwelyd yn ol eilwaith ar hyd ei wrthol: felly y rhai a gyfeiliornasant o ffordd dduwioldeb i ffordd pechod,

chod, rhaid iddynt ddychwelyd yn ol eilwaith cyn gynted ac yr aethent ymlaen, a newidio yn hollawl helynt ac ystod eu buchedd : *Felly edifeirwch yw difrifol ddychweliad at Dduw a'r holl galon, enaid, a meddwl.*

*Joan Fedyddiwr*, a'r Apostolion yn y Testament newydd, wrth annog i edifeirwch, a arferant Roeg-air yn arwyddoccau newidio'r meddwl, neu cyfnewid fryd synhwyrol o'r diwedd ; i arddangos fod y rhai a ddarfu iddynt ar y cyntaf trwy eu ffoledd, ac eisieu synwyr lithro i ddysn-bwll, ac enbydus drochlyn pechod, pan ddelont i wybod oddiwrthynt eu hunain, ac i gasclu eu synwyr ynghyd, yn synwyroli eilwaith, ac yn cymmeryd gofal rhag syrthio yno drachefn, yn ôl y ddihareb, *Y plentyn a loscer ei fŷs a ochel rhag y tân.*

*Eithr bellach at yr ail pwngc, ynghylch cynheddfau a ffrwyth edifeirwch* : yn rhinwedd enwedigol o wir edifeirwch, yw dwyn ganddo bob amser faddeuant pechodau. *Oblegid lle yr elo gwir edifeirwch a'r blaen, ni ddichon amgen na bo maddeuant pechodau yn canlyn :* Nid o herwydd bod edifeirwch yn haeddu maddeuant pechodau, ond o herwydd lle y mae Duw yn gweithio edifeirwch, yno y mae efe yn maddeu pechodau oblegit ei addewid.

Megis

Megis yn Act.3.19. *Edifarhewch, a dychwelwch fel y deleer eich pechodau.* Ac Ezek.18.27. *Pan ddychwelo y drygionus oddiwrth ei ddrygioni a wnaeth efe, a gwneuthur yr hyn fyddo cyfiawn ac union, efe a geidw ei enaid yn fyw.* Ac eilchwel, Esa. 55. 7. *Ymwrthoded y drygionus ai ffyrdd, a'r anghyfiawn ai amcanion, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a dosturia wrtho.* Ac Act. 5. 31. *Hwn a dderchafodd Duw, i roddi edifeirwch a maddeuant pechodau i Israel.* Felly nyni a welwn ymma i bwy y mae maddeuant pechodau, a thrugaredd Dduw yn perthyn: Sef ir pechaduriaid edifeiriol, i'r rhai a ymadawant â phechod, ac a gofleidiant yr hyn sydd dda, i'r rhai a ymadawant a'u ffyrdd eu hunain, ac a'u dychymmygion, ac a droant at yr Arglwydd (sef, trwy ei Fab Jesu Ghrist.)

---

*Prif-*

# *Prif-bennau athrawiaeth y llyfr hwn, a'r dalennau lle y ceir hwynt.*



Cel-

*Tyn*

---

# Deongliad rhai geiriau yn y llytr hwn a allant fod yn anhawdd eu deall mewn rhai mannau, yn enwedig yn neheubarth Cymru.

Achles, cyscod, amddiffyn. Adrybelydr, medrus, yn enwedig mewn arfau, a dry belydr, neu bladur. Adyn, truenus. amdo, amwisc. Amrafael, gwahaniad. amrysus, cyfeiliornus. Anfad, anfadynedd, drwg. Angerdd, llosg. angerddol, tanbaid. Anguriol, ofnadwy. Anhydyn, cyndyn. Anianol, naturiol. Anturio mentro. Areilio, edrych at ddefaid. ardreth, rhent. Arfod, tarawiad. Arswydo, ofni. Athrylith, tuedd naturiol, a synwyr. Athrugar, ffiaidd, tosturus. Aruthr, mawr, rhyfeddol. Attegu, dal i fynu.

Bendant, Bendifaddeu, yn bennaf peth. Benffettur, bennaf ar fedr. Blys, hiraeth am

